# IUDDEWON PRYDA

GAN

JOHN MILLS,

(I. G. Alarch,)

*Awdwr "Gramadeg Cerddoriaeth, Hyfforddwr yr Efry*

*&c., &c., &c.*

LLANIDLOES:

CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN R. MILL

Ar werth hefyd gan Hughes & Butler, St. Martin's-le-G

Llundain, a holl Lyfrwerthwyr Cymru.

Pris Swllt.

# GWEITHIAU

# Y PARCH. JOHN MILLS,

(I. G. ALARCH.)

*Cyhoeddedig ac ar werth gan* R. MILLS, *Llanidloes.*

---

GRAMADEG CERDDORIAETH.—Yn cynwys Eglurhad Athronyddol ac Ymarferol ar y wybodaeth Gerddorol. Y 3ydd argraffiad. Pris, yn rhifynau, 2s. 6c.

GEIRLYFR YSGRYTHYROL.—Yn cynwys Eglurhad ar Darddiad ac Ystyr y Geiriau a ddefnyddir yn y Beibl; yn nghydag *Arweindraeth ar Gyfansoddiad Geiriau y Gymraeg.* Ail argraffiad, wedi ei helaethu. Pris 1s. 2c.

HYFFORDDWR YR EFRYDYDD.—Sef, Cyfarwyddyd i gyrhaedd Dysg, Gwybodaeth, a Rhinwedd. Y rhan gyntaf yn gyfieithiad o waith clodfawr Todd, o America; a'r ail ran yn ddetholiad, yn benaf, o weithiau Watts, Campbell, Locke, &c. Yr 2il argraffiad, wedi ei ddiwygio. Pris 3s. mewn byrddau.

Y PERL YSGRYTHYROL, neu Agoriad i Wybodaeth o'r Beibl. Y mae y rhan gyntaf yn cynwys Eglurhad ar holl Lyfrau yr Hen Destament; yr ail ran yn traethu ar Lênyddiaeth yr Iuddewon o amser yr Hen Destament hyd amser y Newydd; a'r drydedd ran yn cynwys Eglurhad ar Lyfrau y Testament Newydd. Yr 2il argraffiad. Pris 1s. 6c.

Y CERDDOR EGLWYSIG A'R ATTODIAD.—Sef Casgliad o Dônau Crefyddol at wasanaeth yr Addoliad. Y mae y Cerddor yn cynwys detholiad o'r Tônau mwyaf

# IUDDEWON PRYDAIN.

GAN

JOHN MILLS,

(I. G. Alarch,)

Awdwr "*Gramadeg Cerddoriaeth, Hyfforddwr yr Efrydydd,*"
*&c., &c., &c.*

LLANIDLOES:

CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN R. MILLS.

Ar werth hefyd gan Hughes & Butler, St. Martin's-le-Grand,
Llundain, a holl Lyfrwerthwyr Cymru.

I

ELEAZER PUGH, YSW.,

LIVERPOOL,

Y cyflwynir y Llyfryn hwn,

FEL ARWYDD O BARCH DILEDRYW, AM EI

BARODRWYDD HAELFRYDIG

I GEFNOGI POB CYNLLUN CRISTIONOGOL

ER GWNEYD DAIONI,

YN GARTREFOL A THRAMOR,

GAN EI GAR A CHYFAILL,

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD.

Y MAE pob peth a berthyn i'r Iuddewon yn ddorus, am ei fod yn dwyn y fath gysylltiad â'r Beibl. Yn y llyfryn hwn, yr wyf wedi adrodd eu gwahanol arferion a defodau presenol—ac y maent yn lled debyg i'r hyn oeddent yn nyddiau ein Ceidwad—mewn dull mor gryno a rheolaidd ag y medrwn. Yr wyf wedi bod yn casglu y defnyddiau, yn raddol, am flynyddoedd; yn wir, yr oedd fy llafur fel cenhadwr yn eu plith, yn fy arwain yn naturiol i hyny; ac o'r defnyddiau rhei'ny yr wyf yn awr wedi dethol materion y tudalenau canlynol. Nid oes dim braidd yr ysgrifenir mwy arno na phethau Iuddewig, na dim efallai y gwneir mwy o gamgymeriadau yn ei gylch. Y mae yn syndod meddwl mor lleied y mae hyd yn nod dysgedigion yn gwybod am eu defodau; ac mor lleied hefyd y maent hwy eu hunain yn eu hefrydu. Yr wyf yn meddwl y gallaf anturio dweyd wrth y darllenydd y gall o ymddiried yn nghywirdeb y tudalenau canlynol, canys yr wyf yn llygad-dyst o'r rhan fwyaf o'r materion a adroddir ynddo. Nid wyf am honi fod y gwaith yn berffaith; ond beiddiaf ddweyd ei fod yn fwy cyflawn a chywir na dim a gyhoeddwyd hyd yma mewn unrhyw iaith. Cefais lawer o gymhorth gan fy nghyfaill Mr. Wolf yn hyn o orchwyl, ac yn neillduol gan amryw o gyfeillion Iuddewig annychweledig sydd yn dra hysbys o agwedd y genedl yn y deyrnas hon. Hyderaf y bydd darlleniad y gwaith yn foddion i chwanegu rhyw gymaint at wybodaeth Feiblaidd y darllenydd, er mai amcan penaf yr ysgrifenydd yn ei barotoi oedd ennill teimladau cristionogol ei gydwladwyr i weddio dros y genedl Iuddewig, ac i ymdrechu i'w hennill i'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu.

GLAN ALARCH.

LLUNDAIN, *Tach.* 19, 1852.

# CYNWYSIAD.







# IUDDEWON PRYDAIN.

---

## RHAGDRAETH.

Byddai yn rhy faith i ddalenau y llyfryn hwn i ni gymeryd adolygiad hanesyddol ar hanes yr Iuddewon yn y deyrnas hon, er y byddai hyny yn hynod o ddorus. Rhaid i ni gyfyngu ein rhagdraeth at ychydig o grybwyllion.

Daeth y genedl i adnabyddiaeth â'r ynys hon er yn fore, a chawsant gartref a thawelwch ynddi tra bu y llywodraeth yn nwylaw y Cymry. Ar ol i Babyddiaeth ddyfod drosodd i blith y Sacsoniaid, ac i fynachod ac offeiriaid amlhau, dechreuodd eu heiddigedd gyneu yn erbyn yr Iuddewon; ac mor fore ag amser Egbert (740), rhybuddiwyd Cristionogion rhag myned i ŵyliau Iuddewig. O hyny allan, bu eu cyflwr yn dra ansefydlog. Weithiau, caent lonyddwch am ysbaid dan nawdd y penadur, ond drachefn deuai tymhestl o erledigaeth a chreulonderau. Yn gyffredin, yr offeiriaid fyddai â'r llaw flaenaf yn yr ysgelerder. O'r diwedd, yn nheyrnasiad y brenin gwaedlyd Edward I, rhoddwyd cyhoeddiad fod yr holl Iuddewon i ymadael â'r deyrnas yn ddioedi. Ymunodd y llywodraeth â'r werin yn y weithred. Lladdwyd lluaws o honynt, ysbeiliwyd eu meddiannau, a gyrwyd dros 16000 o honynt i chwilio am gartref mewn rhyw wlad arall. Rhanwyd y llyfrgelloedd gwerthfawr oedd ganddynt yn Rhydychain a Stampford rhwng y mynachlogydd, a chymerwyd meddiant o'u synagog wych oedd yn Llundain, gan y mynachod. O flwyddyn eu halltudiad (1290) hyd 1655, ni fu cymaint a throed Iuddew ar ddaear Prydain. Ond o'r diwedd gwnaed yr anturiaeth gan yr hyglod Menasseh Ben Israel. Yr oedd ei dad, Joseph Ben Israel, yn enedigol

o Portugal, ond wedi gorfod dianc oddiyno, fel lluaws o'i gymdeithion, o herwydd yr erledigaeth oedd wedi codi yno am eu crefydd. Ymsefydlodd Joseph yn Amsterdam, a dygwyd ei fab i fyny yn yr athrofa Iuddewig oedd yno. Dysgodd Menasseh yn gyflym, yn neillduol ieithoedd; ac erbyn cyrhaedd oedran gŵr, yr oedd yn dra hyddysg yn yr Hebraeg, Arabaeg, Groeg, Lladin, Yspaenaeg, a Phortugaeg, ac â'u llênyddiaeth. Yr oedd o feddwl naturiol uchelfrydig; ond yr oedd dysg a gwybodaeth o'r byd wedi ei wneyd yn foneddigaidd a charedig. Yr oedd hefyd wedi tori dros ben rhagfarnau ei gydgenedl, ac yn hoffi cymdeithas Cristionogion. Tua 1651, daeth yn gydnabyddus â John Thurloe, yr hwn oedd ar y pryd yn aros yn yr Hague. Yn 1653, gwnaed Thurloe yn ysgrifenydd y llywodraeth dan Cromwell; ac yn y flwyddyn 1655, anturiodd, heb ymgynghori â neb, anfon am Menasseh Ben Israel, i'w ddwyn i sylw ei arglwyddiaeth. Yr oedd Menasseh eisioes yn hiraethu am i'w genedl gael cartref yn Mhrydain: o ganlyniad, fe dderbyniodd y gwahoddiad yn ddiolchgar. Yr oedd wedi sylwi gyda llawenydd ar y nawdd yr oedd Protestaniaeth yn dechreu estyn i'r Iuddewon yn mhob man yr oedd yn llwyddo; ac yr oedd ei hyder yn gryf y caent nodded bellach yn y wlad hon. Daeth drosodd, ac ni fu ei ddyfodiad yn ofer; canys ennillodd ei ddysg, ei foneddigeiddrwydd, a chyfiawnder ei achos, gydymdeimlad trwyadl yn mynwes haelfrydig Cromwell. Heb i ni aros i adrodd y dadleuon fu ar yr achos, digon yw dweyd, i Cromwell a'r llywodraeth ganiatau cais Menasseh; ac mewn canlyniad, daeth lluaws o Iuddewon Yspaenaidd a Phortugïaidd drosodd. Yn y flwyddyn ddyfodol (1556) adeiladasant synagog, yr hon sydd eto yn aros, yn Bevis Marks; a pharotoisant gladdfa yn Mile End, lle mae eu clafdy yn awr. Yr oedd y *lease* i bara am naw cant, nawdeg a naw o flynyddoedd.

Yn fuan wedi'n daeth Iuddewon Germanaidd drosodd; ac yn y flwyddyn 1692, adeiladasant eu synagog yn Duke's Place, lle y mae eu synagog fawr yn sefyll yn bresenol. Byth wedi hyn y mae had Abraham wedi cynyddu yn y deyrnas o oes i oes; ac er fod rhai wedi ceisio codi erledigaeth arnynt droion, y maent wedi eu noddi gan yr awdurdodau; ac erbyn hyn y maent yn

mwynhau pob rhyddid a diogelwch fel deiliaid ereill y llywodraeth.

Oddi wrth y crybwyllion uchod, fe ganfydda y darllenydd fod Iuddewon Prydain yn cynwys *dau ddosparth.* Y mae hiliogaeth y rhai a ddaeth o Spaen a Phortugal yn gwneyd i fyny un dosparth, dan yr enw *Sephardim;* ac hiliogaeth y rhai a ddaeth o Germany a gwledydd ereill, yn gwneyd i fyny y dosparth arall, dan yr enw *Aschenasim.* Y mae y ddau ddosparth yn ymgadw yn hollol ar wahan, nid yn unig yn y wlad hon, ond yn mhob gwlad arall hefyd. Y mae y Sephardim yn ystyried mai hwynt eu hunain ydyw pendefigion y genedl; gan hyny y maent yn ymgadw yn mhell oddi wrth eu brodyr ereill. Yn gyffredin, y maent yn uchelfrydig iawn—yn ymfalchïo yn eu tarddiad o Iuddewon enwog Spaen a Phortugal. Y mae llawer o wir foneddigeiddrwydd yn eu plith; ac yn gyffredin, y maent yn hynod o gyfiawn ac anrhydeddus yn eu holl drafnidedd. Nid oes fawr o gynydd yn eu plith. Nid oes ond ychydig o deuluoedd yn byw allan o Lundain. Ac y mae un Synagog yn ddigon iddynt—o'r hyn lleiaf, nid oes ganddynt ond un. Y mae hono, fel y soniwyd, yn sefyll yn Bevis Marks.

Y mae yr Aschenasim, o'r tu arall, yn cynyddu; a lle bynag y bo masnach yn agoryd drws i ennill arian, dyna y fan iddynt hwy. Nid ydynt yn rhoddi cymaint o bris ar agwedd cymdeithas, ag y mae eu brodyr; nac yn gofalu pa fasnach yr ymaflant ynddi; na chwaith, fel miloedd o'u cydwladwyr o blith y Cenedloedd, yn rhy bryderus rhag i hono ddwyn elw annheg i mewn. Iuddewon o'r dosparth yma ydyw yr Iuddewon sydd gyffredin yn y deyrnas hon tu allan i Lundain.

Heblaw y gwahaniaeth yma yn nheimladau ac arferion y ddau ddosparth, y mae gwahaniaeth yn eu dull o ddarllen yr Hebraeg, ac yn eu gwasanaeth yn y Synagog; ac yn ychydig o'u daliadau crefyddol, fel y cawn sylwi eto.

Ar ol hyn o ragdraeth, ni a ddeuwn yn awr i edrych ar Iuddewon Prydain yn eu hagweddion Teuluaidd, Crefyddol, a Chymdeithasol.

# Y Rhan Gyntaf.

---

**AGWEDDION TEULUAIDD YR IUDDEWON.**

O BOB lle ar wyneb daear, y mwyaf ei ddylanwad ar ddyn yw ei deulu. Yno y mae sylfaen ei nodweddiad yn cael ei osod. Er mor werthfawr ydyw ysgolion a sefydliadau cyffelyb, nid yw eu dylanwad ond bychan mewn cymhariaeth i un y teulu. Yno y mae y plentyn yn cael ei ddrychfeddyliau cyntaf; y drychfeddyliau hyny yn creu teimladau; a'r teimladau drachefn yn esgor ar arferion; a'r arferion hyny o'r diwedd yn ffurfio ei nodweddiad. Y mae yn wir y gall dyn, ar ol cyrhaedd oedran addfetach, trwy addysg ac hunan-ymroddiad, gymesuro llawer ar ei nodweddiad, er gwell neu er gwaeth; ond nid all byth ei lwyr newid. Pa beth bynag a wneir gan y llywodraeth neu y bobl, neu gan y ddau yn nghyd, i ddysgu yr oes sydd yn codi, nid oes dim a etyb ddyben addysg teuluaidd. Amcan blaenaf addysg yr ysgol yw eangu a chryfhau y deall; ond y mae dylanwad y teulu yn effeithio yn ddibaid ar y galon: ac nid y deall sydd yn llywodraethu y fuchedd, ond y galon. Y mae yn wir y gall y ddau gydfyned, ond y mae mor wir y gallant groesfyned. Y mae hanes y byd yn mhob oes yn profi hyny, yn gystal ag yn ein hoes ein hunain. Edrycher, er anghraifft, i Sweden. Y mae mwy o'r trigolion yno yn cael addysg mewn ysgolion nag mewn un wlad arall yn Ewrop; ac eto hwynt-hwy yw y rhai meddwaf yn Ewrop. Edrycher hefyd ar Paris. Y mae y llywodraeth yn gwario mwy o arian i addysgu trigolion y ddinas hono nag a warir ar unrhyw ddinas arall yn y byd; ac eto nid oes neb yn Ewrop yn fwy ansefydlog mewn llywodraeth, yn fwy creulawn mewn terfysgoedd, nac yn fwy aflan mewn ymarweddiad, na hwynt. A'r achos yw, am nad yw rhinweddau teuluaidd ar eu traed. Gan hyny, y llwybr mwyaf effeithiol i wella gwlad yw teuluoedd rhinweddol; a'r unig werslyfr i hyny yw gair yr Arglwydd. Oddi yno yn unig, mewn dull uniongyrchol neu anuniongyrchol, y mae rhyddid, a heddwch, a hawddgarwch,

a phob rhinwedd cymdeithasol arall yn tarddu. A'r unig achos paham y mae Prydain yn fwy dedwydd nag unrhyw wlad arall dan haul yw, am mai gwlad y Beiblau ydyw. Dylanwad dyddiol y Beibl a wna deulu yn gyfiawn, yn rhinweddol, ac yn ddedwydd. Yr un dylanwad a effeithia ar wlad a theyrnas yn yr un modd; a thrwy ddylanwad y Beibl, fe gyfnewidir yr holl hil ddynol yn y man.

Ond amcan y rhan yma o'n llyfryn ydyw adrodd agweddau teuluaidd yr Iuddewon; a'u cysylltiad, yn gyntaf, â'r rhyw wrrywaidd; ac, yn ail, â'r rhyw fenywaidd.

## PENNOD I.—YR IUDDEW.

EI HANES HYD 13 OED—HYD ADEG PRIODI—EI HANES FEL PENTEULU HYD EI GLAFYCHIAD—EI FARWOLAETH A'R CANLYNIADAU.

YN y bennod hon, nyni a edrychwn ar yr Iuddew yn ei deulu, ac a'i canlynwn ef o'i enedigaeth hyd ei gladdedigaeth; gan ddosparthu ei oes yn bedwar dosparth.

I. Y dosparth cyntaf sydd o'i enedigaeth hyd nes y cyrhaedda 13 mlwydd oed.

Y mae amser genedigaeth yn adeg o'r pryder mwyaf i rieni Iuddewig; nid yn unig o herwydd y peryglon cysylltedig âg amgylchiadau y fam, ond hefyd rhag mai merch fydd y baban;* canys y maent yn gwneyd gwa-

* Yn Poland, a rhai gwledydd ereill, y mae pryder arall yn dal y teulu ar ran y bychan; canys ar ol y genedigaeth, ac i beryglon yr amgylchiad fyned heibio, y maent yn llawn ofnau bellach rhag iddo syrthio yn ysglyfaeth i ddwylaw *Mureth*, neu "y rhai drwg." Wrth *Mureth* y meddylir unrhyw bersonau fo wedi syrthio dan ddylanwad *Lilith*. Y mae y gair olaf yn tarddu o'r gair *lailah*, NOS. Cyfieithir o yn y Beibl Cymreig yn *gwyll*, ond yn y Saesonaeg, *screech owl*, neu ddylluan rudd. (Esay xxxiv. 14.) Yn ol chwedlau y Rabbiniaid,† rhyw wylliad ydyw y *Lilith* ar lun menyw hardd, ac mewn amgylchiadau penodol y mae yn syrthio ar bersonau, a rhaid iddynt ufuddhau i'w gorchymynion. Y munud y mae unrhyw un yn syrthio dan ddylanwad y *Lilith*, y mae yn cael ei droi i lun rhyw anifail; y

† Yr oedd gan y Groegiaid paganaidd, a'r Arabiaid, chwedlau cyffelyb; felly hefyd y Pabyddion, gweddillion pa rai a adnabyddir yn Nghymru dan chwedlau "aderyn y corff," a'r rheibwraig ar lun ysgyfarnog.

haniaeth mawr rhwng mab a merch, fel y cawn weled yn yr ail bennod.

Pan y cyrhaedda y plentyn ei wyth niwrnod oed, rhaid enwaedu arno, i'w dderbyn yn aelod o gyfammod Abraham. (Gen. xvii. 12.) Ystyrir hwn yn amgylchiad o'r pwys mwyaf, fel y cawn weled rhagllaw. Os dygwydd i'r plentyn gael ei eni mor agos i derfyn un dydd a dechreu y llall, fel mai anhawdd i'r rhieni benderfynu, rhaid myned â'r achos at y Rabbi, a bydd ei farn ef yn ddigon ar y mater. Os bydd yr wythfed dydd yn Sabbath, rhaid enwaedu ar y dyn bach, er fod y dydd yn santaidd. Ond os dygwydd iddo gael ei eni ar noswyl y Sabbath (sef machludiad haul ddydd Gwener), fel nad ellir dweyd yn sicr pa un ai ar y Sabbath neu ar y Gwener y ganwyd o, nid ellir ei enwaedu ar noswyl y Sabbath nac ar y Sabbath ei hun; ond rhaid ei ohirio hyd y Llun, y degfed dydd. Anfynych, pa fodd bynag, y mae hyn yn dygwydd.

Y peth cyntaf tuag at gyflawni y ddefod ydyw dewis alltraw i'r plentyn—rhywbeth tebyg i'r hyn a elwir yn

mwyaf dewisol yn gyffredin yw cath ddu; ac yn y sefyllfa hono y gelwir hwy *Mureth*. Amcan penodol *Lilith* yw lladd y plentyn, neu ei niweidio mewn rhyw fodd neu gilydd; gan hyny, y mae yn rhoddi ei gorchymynion i *Mureth*, a rhaid iddynt hwythau ufuddhau ar bob achlysur. Gan nad oes gan *Lilith* ddim awdurdod i niweidio y bychan ar ol ei dderbyn i'r cyfammod Abrahamaidd trwy enwaediad, rhaid iddo gyrhaedd ei amcan cyn y cyrhaeddo y plentyn wyth niwrnod oed. Os na ddygwydd un niwaid cyn y seithfed noswaith, credir y defnyddia *Lilith* ei holl fedrusrwydd y noswaith hono i gyraedd ei nod; gan hyny, dangosir y pryder a'r gofal mwyaf ar ran y bychan yr adeg hono. Gan y bydd sail i *Mureth* fyned, rywfodd neu gilydd, i ystafell wely y fam cyn y gall gael gafael yn y bychan, parotoir cyllell fawr finiog i'w chadw gan y fam, fel, os gwel hi y *Mureth* yn y stafell, y gallo ei thaflyd ato. Gwae unrhyw gath a ddelo ar gyfyl y pryd hyny. Nid amcan y fam, na neb o'r teulu, yw lladd y *Mureth*, ond yn unig ei glwyfo; canys os gellir tynu gwaed o hono, y mae yn cael ei symud ar unwaith o dan ddylanwad *Lilith*, ac yn dyfod i'w lun priodol ei hun. Heblaw gwyliadwriaeth y teulu, y mae ganddynt foddion ereill i gadw "y rhai drwg" oddiwrth y plentyn. Ysgrifenir y cxxi. Salm ar bapyrau, i'w gosod yn nghonglau yr ystafell; neu, weithiau, ysgrifenir hi ar y drws. Rhaid i'r ysgrif fod yn Hebraeg. Yn gyffredin, ysgrifenir o yn gylch o gwmpas y papyr, a geiriau *Cabalaidd* neu ddewingar yn y canol. Credir fod gan y papyrau hyn swyn ryfeddol, nid yn unig i gadw *Mureth* i ffwrdd, ond hefyd i gadw bywyd, ac adferyd iechyd y fam.

mhlith Cristionogion y tad-bedydd. Yn gyffredin, rhyw berthynas neu gyfaill penodol fydd hwnw. Os bydd y rhieni yn dylawd, ant at un o'r cyfoethogion sydd bob amser yn barod i'r swydd, a chymer arno ei hun yr holl draul fo yn gysylltedig â'r amgylchiad. Gan fod o yn cael ei ystyried yn rinwedd mawr dalu traul fel alltraw, nid yw yn anhawdd i'r rhieni tylotaf gael un i'w plentyn; ond pe dygwyddai i hyny fod, y mae cymdeithas wedi ei sefydlu o bwrpas i ofalu am rai yn ngwyneb angen. Felly y cwbl fyddai gan y rhieni i'w wneyd, fyddai hysbysu yr amgylchiad i swyddoges y gymdeithas hon.

Ar ol dewis yr alltraw, rhaid penderfynu yn nesaf ar enw y bychan, er mwyn ei ddefnyddio ar y ddefod. Rhaid i'r enw fod yn un Iuddewig, ac yn gyffredin un fo yn bod, neu wedi bod gan rai o'r perthynasau, neu ryw ddysgawdwr enwog. Ystyrir yr enw hwn yn gysegredig a santaidd, a defnyddir o bob amser yn nglŷn â chrefydd. Er anghraifft, pan yr offrymir gweddi drosto, neu y gelwir o at unrhyw orchwyl yn y Synagog, yr enw a gafodd yn ei enwaediad a ddefnyddir. Ond yn ei ymwneyd â'r byd, y mae yn defnyddio enw arall, a gall hwnw fod yn un cenedlig. Fel hyn y mae ganddo ddau enw—un crefyddol, ac un bydol; ac nid yw byth yn eu cyfnewid. Os, er anghraifft, ei enw crefyddol yw Moses, nid yw byth yn ei ddefnyddio ond ar achlysuron crefyddol; ac os ei enw bydol yw Hari, hwn yn unig fydd ganddo yn ei fasnach a'i amgylchiadau.

Ar ol y trefniadau hyn, rhaid penderfynu yn nesaf yn mha le yr enwaedir. Yn gyffredin, gwneir hyny yn y Synagog; ond os bydd cartref y teulu yn mhell oddi wrthi, neu os bydd y tywydd yn annghysurus, gellir gwneyd hyny yn y tŷ. Nid oes dim pwys yn y lle; er, yn gyffredin, dewisir y Synagog. Ac ni awn yno, am ychydig amser, i weled y ddefod yn cael ei chyflawni. Y mae y gynulleidfa * yno yn dysgwyl, a'r *Mohel* neu enwaedwr hefyd. Ac yma dalied y darllenydd sylw, mai nid swyddog y Synagog ydyw yr enwaedwr, ond rhyw ŵr cyfrifol, yn gyffredin, fo yn hyddysg yn nefod

* Rhaid i bob cynulleidfa Iuddewig gynwys 10 o wrrywaid mewn oedran; heb hyny, ni chydnabyddir hi yn gynulleidfa.

yr enwaediad. Y mae yn cyflawni y ddefod hefyd am ddim. Y mae yr anrhydedd cysylltedig â hi yn ddigon o dâl. Y mae pobpeth angenrheidiol at y gorchwyl yn barod ganddo—cyllell lem; eli, had cwmin, gwin i olchi y briw, rhwymynau, &c.; ac y mae y gŵr sydd yn dal y rhai'n yn ei law yn berthynas i'r plentyn, canys y mae gweini i'r enwaediad yn weithred rinweddol iawn. Y mae dau ŵr arall yn dal bawb i wydraid o win. Dygir y plentyn at ddrws y Synagog gan y fam alltraw; yna cymerir o gan y tad-alltraw; ac wrth iddo ei ddwyn i fewn dywed y gynulleidfa, "Bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod." Yn y canol y mae cadair fawr, a dau eisteddle arni. Y mae yr alltraw yn cerdded, a'r plentyn yn ei freichiau, at y gadair, ac yn eistedd ar un o'r eisteddleoedd; ond y mae y llall yn aros yn wag.* Ar ol iddo eistedd rhoddir clustog ar ei arffed, a'r plentyn ar hwnw. Yna cymer yr enwaedwr afael yn y blaengroen, gan ei gyfleu i gelfyn, yn mha un y delir o yn sad nes gorphen y gorchwyl. Tra y mae yr enwaedwr, fel hyn, yn dal y blaengroen â'r celfyn, adrodda y fendith hon, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni â'th orchymynion, ac a orchymynaist yr enwaediad i ni." Ar hyn tyr ymaith gŵr eithaf y blaengroen; ac yna, gyda y cyflymdra mwyaf, rhwyga y gweddill â'i ewyn; ac ar ol iddo sugno y gwaed o'r clwyf, rhydd had cwmin a phlastr arno. Ar ol gorphen ei rwymo, y mae y tad-alltraw yn myned o'r gadair, gan ddal y plentyn yn ei freichiau, tra y mae yr enwaedwr yn cymeryd gwydraid o win yn ei law ddeau, ac yn adrodd y fendith hon, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! Creawdwr ffrwyth y winwydden. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! yr hwn a santeiddiodd ei gyfaill o'r bru, ac a osododd ordinhad i'w gyfathrach, ac a seliodd ei hiliogaeth â nod ei gyfammod santaidd; gan hyny, er mwyn rhinweddau hyn, O Dduw byw! ein craig a'n hetifeddiaeth, gorchymyn

* Eisteddle Elias y prophwyd yw hon. Gelwir ef yn angel y cyfammod, a chredir ei fod yn bresenol yn ngweinyddiad y ddefod, ond yn anweledig. Credir hefyd ei fod fel hyn, yn anweledig, yn teithio yn ddibaid o le i le, ac yn bresenol ar amryw o achlysuron, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen.

ryddhad anwyled ein cyfathrach o'r ffos, er mwyn y cyfammod a osododd efe yn ein cnawd. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, awdwr y cyfammod—ein Duw, a Duw ein tadau. Nodda y plentyn hwn i'w dad a'i fam, a gelwir ef yn Israel wrth yr enw —— mab ——. Llawenyched y tad yn y rhai a êl allan o'i lwynau, a bydded ei fam yn llon yn ffrwyth ei bru; fel y mae yn ysgrifenedig, Dy dad a'th fam a lawenycha; a'r hon a'th ymddyg a orfoledda." Ac fel y dywedir hefyd, "A phan dramwyais heibio i ti, a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed, dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw." Dywedir hefyd, "Cofiodd ei gyfammod byth, y gair a orchymynodd efe i fil o genedlaethau: yr hyn a ammododd efe âg Abraham, a'i lw i Isaac; a'r hyn a osododd efe yn ddeddf i Jacob, ac yn gyfammod tragwyddol i Israel." Ac hefyd dywedir, "Ac Abraham a enwaededd ar Isaac ei fab, yn wyth niwrnod oed, fel y gorchymynodd Duw iddo ef." "Clodforwch yr Arglwydd, canys da yw, o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd." Bydded i ——, y dyn bychan hwn, fyw i fyned yn fawr; ac fel y mae ef wedi myned i mewn i'r cyfammod, felly bydded iddo fyned i mewn i'r gyfraith, *canopi* gweithredoedd da." Tra y mae yn adrodd y weddi hon, y mae yn rhoddi ei fys bach yn yr aíl wydraid amryw o weithiau, ac o'r gwin i enau y bychan; a'r tro olaf gofyna i'r tad beth yw enw ei blentyn, pryd yr hysbysir o. Yna y mae y tad yn adrodd y fendith ganlynol, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist i fyned i rwymyn cyfammod ein tad Abraham." Yna etyb y gynulleidfa, "Fel y mae wedi myned i'r gyfraith, y *canopi*, a gweithredoedd da a rhinweddol."

Rhoddir y pwys mwyaf ar enwaediad. Dywed eu hathrawon fel hyn, "Ni alwyd Abraham yn berffaith nes iddo gael ei enwaedu; a thrwy rinwedd yr enwaediad gwnaed cyfammod âg ef am roddi iddo wlad Canaan.* Y mae hefyd yn gwaredu rhag barn uffern; canys y mae ein gwŷr doeth wedi dweyd fod Abraham ein tad yn eistedd wrth ddrws uffern, ac nid yw yn

* Y mae hyn yn hollol groes i'r gwirionedd. Gwel Gen. xv.

goddef i un enwaededig gael ei daflu yno. Dirmygir y dienwaededig, canys edliwir hyny i'r Cenhedloedd, fel y dywedir, "Yr holl Genhedloedd sydd ddienwaededig;" a phob un a doro gyfammod ein tad Abraham, unai trwy beidio bod yn enwaededig, neu trwy ddyfod yn ddienwaededig, nid oes iddo ran yn y byd a ddaw; er iddo fod â gwybodaeth o'r gyfraith a gweithredoedd da."*

Ar ol hyn, y mae y gwahoddedigion—perthynasau a chyfeillion penaf y rhieni, yn dychwelyd adref gyda y tad, i eistedd wrth foreubryd gwych; yr hyn sydd yn terfynu seremoni yr enwaediad.

Os cyntafanedig fydd y bychan, rhaid ei brynu, pan y cyrhaedda fis oed (30 dydd), yn ol y gorchymyn yn Num. iii. 47. Y dull o wneyd hyny sydd fel hyn:—y mae y tad yn gwahodd un a ystyrir yn offeiriad, yn nghydag ychydig o rai ereill, i'w dŷ ar y diwrnod penodedig. Ar ol iddynt ddyfod, y mae y tad yn hysbysu i'r offeiriad, fod ei wraig, yr hon sydd o deulu Israel, wedi ymddwyn mab iddo, sef eu cyntafanedig, gan ei gynyg iddo. Yna gofyn yr offeiriad iddo, pa un sydd well ganddo, ai ei fab cyntafanedig, ynte y pum sicl, arian pridwerth ei fab. I hyn yr etyb y tad, Hwn yw fy nghyntafanedig, cymer y pum sicl, gwerth ei bryniad. Yna rhydd iddo tua 12s, gan adrodd y fendith ganlynol, —"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiodd ni a'i orchymynion, ac a'n gorchymynodd ni i gyflawni pryniad y mab. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n cadwodd yn fyw, ac a'n cynaliodd ni, ac a ganiataodd i ni barhau hyd y pryd hwn." Y mae at ddewisiad yr offeiriad ddychwelyd yr arian neu beidio. Y mae y ddefod, sut bynag, yn y dull yna, ar ben. Pe dygwyddai i'r tad farw cyn prynu ei gyntafanedig; neu ynte esgeuluso gwneyd hyny, rhaid iddo brynu ei hun ar ol cyrhaedd oedran.

Pan y cyrhaedda y bychan ei ddwyflwydd oed, gwisgir ef o hyny allan, gyda'r gofal a'r pryder mwyaf, â'r *Arbang Canphoth*; h.y. math o wisg a wneir o we, nid annhebyg i wlanen. Defnydd y we yn gyffredin yw

* Mor groes yw hyn oll i iaith y prophwydi! Gwel Jer. ix. 25, 26. Is. i. Gwel hefyd Rhuf. ii. 25—29.

gwlan oen gwyn; a'i faintiolaeth i un mewn oedran gŵr ydyw tua llathen o hyd, a throedfedd o led. Yn y canol y mae twll, oddeutu troedfedd a hanner o hyd. Wrth ei wisgo, rhoddir y pen trwy y twll yma, fel y bo dau ben y dilledyn yn crogi i lawr, un ar y frest a'r llall ar y cefn. Gwisgir ef dan y dillad, ac yn nesaf at y crys.* Trwy y pedwar cornel y mae eddi wedi eu tynu, a elwir ganddynt hwy *Tsitsith*. Gwneir yr eddi yma o'r un defnydd a'r wisg, sef gwlan oen. Parotoir hwynt yn gyffredin gan Iuddewesau; a rhaid i bob Iuddew o oedran eu cylymu wrth ei *Arbang Canphoth* ei hunan. Y mae yr eddi sydd ar bob cornel yn cynwys wyth edaf; a sicrheir hwynt wrtho â phum cwlwm—dim mwy na dim llai. Y rheswm ydyw hyn:—Yn y gyfraith, meddant, y mae 613 o orchymynion. Y mae y gair *Tsitsith* † yn cynwys chwe chant—yr edafedd yn wyth, y cylymau yn bump; ac os rhoddir y rhai'n yn nghyd, gwnant 613, sef nifer y gorchymynion. Gan hyny, rhoddir y pwys mwyaf ar eu gwisgo. Yn wir, dywedir wrthym fod "y gorchymyn yn nghylch hyn mor fawr, fod y sawl fo yn eu gwisgo yn ofalus yn cael ei gyfrif fel pe buasai yn cadw yr holl gyfraith." A byddai adrodd yr holl rinweddau a dybir sydd yn gysylltedig â'r wisg hon, yn rhy faith o lawer i ddalenau y llyfryn hwn. Nid oes dim, modd bynag, yn cael mwy o ddylanwad ar feddwl yr Iuddew na hwn; ac nid oes dim yn brawf sicrach ei fod yn ymwrthod â chrefydd ei dadau, na'i fod yn rhoddi heibio gwisgo ei *Arbang Canphoth*. Wrth roddi y dilledyn hwn am y bychan, dysgir iddo ymaflyd yn yr eddi, ac adrodd y weddi ganlynol yn Hebraeg;—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiaist a'th orchymynion, ac a orchymynaist i ni orchymyn yr eddi." Fe fydd yr addysg a'r hyfforddiant teuluaidd a gaiff y plentyn ar ol hyn yn dibynu, o gwrs, ar sefyllfa a thu-

* Mewn rhai gwledydd, megys Poland, y mae o yn bur hir, a gwisgir o dros y dillad, ond yn unig dan y gôt uchaf. Pan byddont yn eistedd, y mae yr eddi yn dyfod i'r golwg. Y mae rhai Iuddewon oedranus yma yn eu gwisgo felly.

† Rhaid i'r darllenydd ddeall fod y llythyrenau Hebraeg yn cael eu defnyddio fel ffugyrau. Y mae y gair uchod yn cael ei wneyd i fyny o bedair llythyren, gyda'u gilydd yn gwneyd 600.

eddiadau ei rieni. Ac am yr addysg a gaiff mewn ysgol, nyni a soniwn am hyny yn y drydedd ran. Bellach, nid oes dim o bwys yn cymeryd lle nes y daw y llanc yn dairarddeg oed.

II. Yn awr y mae wedi cyrhaedd dechreuad yr hyn a alwn yr ail ddosparth o'i oes. Y pryd hyn y mae yn dyfod yn *Bar Mitsfah*; hyny yw, yn llythyrenol, *mab y gorchymyn*. I ddeall ystyr yr enw, rhaid i'r darllenydd wybod fod yr Iuddewon yn credu fod y plentyn, hyd nes y cyrhaedda yr oedran a enwyd, yn hollol yn nwylaw ei rieni, a'u bod hwy yn gyfrifol am ei bechodau. Edrychir arno ef fel mabai, neu un dan oedran—yn cael ei ddysgu yn mhob dim gan "ymgeleddwyr ac arweinwyr." Ond pan y cyrhaedda y nod a enwyd yn ei oes, ac y gwneir ef yn *Bar Mitsfah*, y mae yn myned o tan gysgod ei arweinwyr; a bellach fe fydd yn gyfrifol am ei holl ymddygiadau ei hun. Cyfrifir ef bellach yn aelod o gynulleidfa Israel; a dysgwylir iddo gyflawni holl ddefodau ei grefydd yn ddirgel a chyhoeddus.

Am gryn amser cyn i'r adeg ddyfod, addysgir y llanc yn ddyfal yn y cyflawniadau sydd i gymeryd lle ar y pryd, yn nghyda'r dyledswyddau a berthyn iddo ar ol hyny. Ar y Sabbath cyntaf ar ol cyrhaedd pen ei dair blwydd ar ddeg, rhaid iddo ymddangos yn y Synagog; a gelwir arno, am y waith cyntaf yn ei fywyd, i ddyfod yn mlaen at y ddarllenfa, i ddarllen cyfran o'r ysgrythyr. Os na fydd yn alluog i hyny, gwneir o drosto gan y darllenydd. Yna y mae y tad (neu os bydd y tad wedi marw, yr alltraw, neu y sawl fo â gofal y llanc arno) yn myned at y ddarllenfa, ac yn adrodd y weddi hon,—"Bydded i ti ganlyn llwybrau Abraham, Isaac, Jacob, Amen ac Amen." Eto dywed, "Heddyw yr wyt wedi cyrhaedd dyndid; ac o heddyw allan yr wyf fi yn rhydd oddi wrth dy bechodau: rhaid i ti ateb am dy weithredoedd dy hunan. O heddyw allan cyfrifir di yn aelod o'r gynulleidfa—bydd yn fanwl, cadw y gorchymynion; yna fe fydd bendithion Duw Abraham yn darian ac yn arweinydd i ti trwy dy oes." Cedwir gweddill y dydd yn ddiwrnod gwledd a llawenydd gan yr holl deulu. Gwahoddir perthynasau a chyfeillion penodol y llanc i eistedd wrth y bwrdd; a daw eu cydnabod a'u hewyllyswyr da i dalu eu hymweliad â hwynt fel teulu, a dymuno eu llwyddiant.

Dyma yr adeg hefyd y mae yn dechreu gwisgo y *Tephilin.* Gair Rabbinaidd ydyw hwn, yn enw ar ddau gelfyn, un i'r pen a'r llall i'r fraich, tebyg i'r hyn a ganlyn. Darparir pedwar llefnyn o femrwn, yn agos i fodfedd o led, ac wyth modfedd o hyd, bob un; ac ysgrifenir arnynt, yn hardd a gofalus, ranau o'r ysgrythyr yn Hebraeg. Y rhanau ysgrythyrol a ysgrifenir arnynt yw y rhai hyn,—

(1.) Deut. vi. 4—9.
(2.) —— xi. 13—21.
(3.) Exod. xiii. 2—10.
(4.) —— — 11—16.

Ar ol gorphen y llefnynau hyn, darperir amwisg iddynt, o'r un defnydd a hwynt eu hunain. Y mae yn debyg i gist fechan ysgwar, tua modfedd bob ffordd. Oddi fewn y mae tri dernyn o femrwn wedi eu cyfleu, i'w ddosparthu yn bedair ystafell fechan; ac yn y rhai hyn y rhoddir y llefnynau, ar ol eu plygu yn ofalus ar ysgrif o'r tu fewn i'r plygiad. Fel hyn cedwir un llefnyn yn mhob ystafell. Y mae darn o'r memrwn sydd yn cyfansoddi y gist, wedi ei wneyd o bwrpas i droi drosodd fel caead; yr hwn, ar ol rhoddi y llefnynau yn eu lleoedd, a wnïir dros y gwyneb yn ofalus â chareiau lledr, gwedi eu parotoi at y pwrpas. Ar un ysgwar, y mae y lythyren Hebraeg *Shin*, sef y lythyren gyntaf yn y gair SHADAI, sef *Hollalluog*—un o enwau annghyfranogol y Creawdwr. Y mae y darn a droir drosodd fel caead, wedi ei wneyd, yn un pen, yn fath o ddolen. Trwy hon rhoddir rhwymyn lleder tua dwy lath o hyd, ac yn agos i fodfedd o led. Tynir y rhwymyn fel bo y *Tephilin* oddeutu y canol. Yna y mae y garai ledr hon fel dau rwymyn i rwymo y *Tephilin* wrth y pen. Y mae y *Tephilin* arall yr un fath, gyda hyn o wahaniaeth—rhwymir y darnau memrwn sydd yn cynwys yr adnodau a enwyd, yn un rhol; ac nid fel y lleill yn bedwar gwahanedig. Un ceudod hefyd ydyw y tu mewn iamwisg y memrwn hwn; ac nid, fel y llall, wedi ei ranu i bedair ystafell. Nid yw y lythyren *Shin* arno ychwaith; na dim ond un rhwymyn, a hwnw tua tair llath o hyd. Cymerir y gofal mwyaf wrth ddarparu y ddau *Tephilin.* Yn wir, byddai adrodd yr holl ddeddfau a'r rheolau

sydd raid ymgadw atynt gyda'r gorchwyl yn ddigon a llanw cyfrol fechan. Ar ol eu gorphen, gelwir y gyntaf yn *Tephilin Shel Rosh*, neu *Dephilin*, y pen; a'r llall yn *Tephilin Shel Iod*, neu *Dephilin*, y llaw.

Ar ol hyna o eglurhad ar y *Tephilin*, ni edrychwn yn nesaf pa ddefnydd a wneir o honynt. Ar ol i'r llanc gyrhaedd bod yn *Bar Mitsfah*, rhaid iddo, byth wedi'n, ddefnyddio y *Tephilin* bob amser wrth weddio. Yn gyntaf, fe gymer afael yn *Tephilin* y fraich, ac ar ol ei osod ar y rhan nesaf at y galon o'r fraich chwith, fe ddywed y fendith ganlynol,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiodd ni a'i orchymynion, ac a'n gorchymynodd ni i wisgo y *Tephilin*." Yna yn ddioedi, y mae yn rhwymo y rhwymyn lleder a enwyd am y fraich i gadw y *Tephilin* yn ei le priodol. Yna cymer *Tephilin* y pen, a rhydd o yn gymhwys ar ganolbarth y talcen, ac i gyfhwrdd â'r gwallt, gan adrodd y fendith hon,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a orchymynaist i ni orchymyn y *Tephilin*." Dylasem ddweyd, fod y *Tephilin* yn cael eu cadw mewn cwd bychan pwrpasol, yr hwn a wneir yn gyffredin gan fam neu chwaer y llanc, ac a roddir iddo ar y diwrnod y mae yn dyfod yn *Bar Mitsfa;* a'r peth cyntaf a wna wrth eu cymeryd allan yw eu cusanu. Yna, yn ddisylw o bobpeth, prysura i'w gwisgo; canys byddai yn bechod dweyd gair ar ol eu cusanu nes gorphen y seremoni.

Y mae y ddefod hon wedi ei seilio ar y gorchymyn, "A bydded hyny yn arwydd ar dy law, ac yn rhagtalau rhwng dy lygaid." (Ex. xiii. 16.) Credir hefyd fod rhinwedd yn y *Tephilin* i gadw y sawl fo yn eu gwisgo rhag mil a myrdd o ddrygau. Yr oedd yr un dyb yn eu plith yn nyddiau ein Hiachawdwr, a chyn hyny. Dyna y rheswm pam y galwyd y *Tephilin* gan yr Iuddewon oedd yn arferyd Groeg, yn *Phylacterau*, canys ystyr y gair yw *cadwraeth.* At y rhai hyn, yn nghyda'r *Arbang Canphoth* y cyfeirir yn Mat. xxiii. 5.

Ar ol hyna o eglurhad, ni gawn edrych yn awr ar y dyledswyddau hanfodol gan yr Iuddew ieuanc i'w cyflawni yn ddyddiol. Y ddyledswydd gyntaf ydyw ymolchi. Yn ol athrawiaeth y Rabbiniaid dylai pob Iudd-

ew godi yn foreu; a'r peth cyntaf sydd ganddo i'w wneyd ydyw ymolchi. Edrychir ar gwsg yn fath o farwolaeth; canys, dywedir fod yr enaid yn ymadael â'r corff ar y pryd, a'r ysbryd aflan yn cymeryd ei le: ac os cysgir yn rhy hir, neu os na ymolchir yn ol y rheolau a benodir, fe erys yr ysbryd ar y dyn er iddo ddeffroi. Gan hyny, y mae yn angenrheidiol i bob un gael dŵr yn barod wrth y gwely, fel y gallo ymolchi yn ddioedi. Dysgwylir iddo ymolchi cyn cerdded pedair llath. Ac yn wir, dywed rhai o'u hathrawon, "Pwy bynag a gerddo bedair llath â dwylaw heb ymolchi, euog fydd o farwolaeth." Cyn ymolchi, rhaid iddo beidio â chyffhwrdd âg un rhan o'i gorff, canys byddai hyny yn dra pheryglus. Rhaid i'r dŵr fod yn hollol lân; ac wrth ymolchi, rhaid bod yn bur ofalus rhag i ddim syrthio ar y llawr. Ar ol ymolchi, rhaid peidio ei daflyd lle y mae dynion yn tramwyo; canys byddai hyny yn bur beryglus i'r sawl a ddygwyddai sangyd arno. Rhaid tywallt y dwfr ar y dwylaw dair gwaith; heb hyny, nid ymedy yr ysbryd aflan. Y mae rhai amgylchiadau amheus a ddylid ymolchi ai peidio; megys pan bo un yn gwylied trwy'r nos, neu y codo un cyn toriad gwawr; neu ynte pan gysgo un yn ystod y dydd. Pa fodd bynag, cynghor eu hathrawon ydyw gwneyd, a hyny yw yr arferiad gyffredin.

Y dull y cyflawnir y ddefod sydd fel hyn,—Yn union ar ol codi, adroddir y fendith ganlynol: "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i olchi ein dwylaw." Yna fe gymer afael yn y llestr fo â'r dwfr ynddo â'i law dde, gan ei roddi drachefn yn ei law chwith; ac yna fe dywallta y dŵr ar ei law ddeau. Rhaid iddo wneyd felly dair gwaith. Gwna yr un modd drachefn â'i law chwith. Wedi hyn golcha ei wyneb trwy godi y dwfr â'i ddwylaw. Ac yn olaf, rhaid iddo lanhau ei enau â rhan o'r un dŵr; canys nid ellir galw ar yr Arglwydd â genau aflan. Ar ol gweini carthiadau y corff, y mae gweddi arall i'w hoffrymu, nad yw yn werth ei chofnodi yma.

Er mwyn i'r darllenydd ffurfio syniad lled gywir am y pwys mawr a roddir ar y golchiadau hyn, nyni a chwanegwn y detholion canlynol, o waith eu hathrawon.

"Rhaid i ddyn fod yn ofalus iawn i dywallt dŵr ar ei ddwylaw dair gwaith, canys y mae ysbryd aflan yn aros arnynt nes eu golchi; ac nid ymedy nes tywallt dŵr arnynt dair gwaith. Gan hyny, dylid gofalu cyn ymolchi, i beidio rhoi y llaw ar y genau, y trwyn, y clustiau, a'r llygaid, o herwydd fod ysbryd aflan arnynt." Eto, "Dylid bod yn ofalus iawn gyda golchi y dwylaw, canys y mae pob un a ddirmygo y golchi dwylaw, yn euog o ysgymundod." Ac eto, "Y mae pob un a ddirmygo olchiad dwylaw yn syrthio i dylodi. Dywed Rabbi Zerica, yn enw Rabbi Eliezer, 'Pob un a ddirmygo olchiad dwylaw a ddiwreiddir oddi ar y ddaear.'" Y mae hyn yn ddigon i ddangos ysbryd y ddefod.

Y peth nesaf yn nyledswyddau dyddiol yr Iuddew ieuanc yw myned dros y gweddiau. Nid yw yn gyfreithlawn gymeryd tamaid cyn gorphen yr holl weddiau. Gellir, ar ol adrodd gweddi ragarweiniol, gymeryd llymaid o ddŵr, neu goffi, &c.; ond ni chaniateir gymeryd tamaid gydag ef. Ac er y caniateir adrodd y gweddiau gartref; eto, y Synagog yw y lle priodol. Gan hyny, nyni a adawn ein gwrthddrych a'i weddiau fel hyn, nes y deuwn i son am y Synagog yn yr ail ran.

Nid oes dim penodol gan yr Iuddew ieuanc i'w gyflawni yn y teulu y dydd hwnw mwy, oddi eithr cusanu y *Meswsah* (yr hyn a eglurwn rhagllaw), a golchi ei ddwylaw wrth fwyta, nes y daw yr adeg iddo fyned i orphwys. Y pryd hyny y mae gweddi benodol i bob Iuddew ei hadrodd y peth olaf cyn cysgu. Ni chaniatair bwyta nac yfed dim ar ol adrodd hon; a rhinwedd hefyd yw peidio dweyd cymaint a gair. Yn wir, goraf po gyntaf y gellir cysgu ar ol ynganu y gair olaf o honi. Y mae y weddi hon yn rhy faith i'w gosod ger bron yma; ond gan mai detholiad ydyw o ranau yr ysgrythyrau (y Salmau yn benaf), gall y darllenydd feddwl ei bod yn cynwys yr ymadroddion mwyaf prydferth a gwerthfawr. Ac felly y byddai mewn gwirionedd i ysbryd a'i hadroddai yn ngoleuni a ffydd y gwirionedd.

Yma, cyn myned yn mhellach, dylem ddweyd fod gan yr Iuddew weddi neu fendith benodol i'w hadrodd bron ar bob achlysur. Rhoddwn yma ychydig yn anghraifft.

*Bendith cyn yfed gwin.*

**Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y**

greadigaeth; yr hwn wyt yn creu ffrwyth y winwydden.

*Bendith cyn bwyta ffrwyth coed.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth, Creawdwr ffrwyth y pren.

*Bendith cyn bwyta ffrwyth y ddaear.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; Creawdwr ffrwyth y ddaear.

*Bendith cyn bwyta unrhyw damaid; neu yfed unrhyw wlybwr, oddieithr gwin.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; yr hwn wyt yn peri i bob peth fod yn ol dy ewyllys.

*Bendith cyn bwyta ffrwyth cynar; neu wisgo dillad newydd.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n cedwaist ni yn fyw, a'n cynaliaist ni, ac a'n dygaist i fwynhau yr adeg hon.

*Bendith wrth glywed newydd drwg.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; y Barnydd cyfiawn.

*Bendith wrth weled mellten.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; yr hwn a wnaeth weithredoedd mawrion.

*Bendith wrth glywed taran.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; gallu a nerth yr hwn sydd yn llenwi y ddaear.

*Bendith wrth weled bwa'r cwmwl.*

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth; yr hwn sydd yn cofio ei gyfammod, ac sydd yn ffyddlawn i'w gyfammod, ac yn sefydlog i'w addewid.

III. Yr ydym yn awr wedi cyrhaedd y trydydd cyfnod yn oes ein gwrthddrych, sef pan y mae yn dyfod yn ben teulu. Ac yma, y peth cyntaf i ni sylwi arno ydyw *priodi a'i amgylchiadau.*

Y mae teimlad cryf yn yr Iuddewon fel cenedl yn erbyn bywyd unigol neu weddw. Dichon fod hyny

wedi ei gynyrchu mewn rhan fawr oddi wrth athrawiaeth eu hen Rabbiniaid ; canys y maent hwy yn dysgu y dylai pob Iuddew briodi, a hyny yn ieuanc. Seilir hyn ar y gorchymyn yn Genesis i. 28. Yr oedran a nodir yn gyffredin yw deunaw ; a chyfrifir dyn ieuanc a gyrhaeddo ugain heb wneyd hyny yn warthus, oddi eithr fod ganddo ryw resymau priodol iawn dros hyny. Ni chedwir at y rheolau hyn, modd bynag, gan Iuddewon Prydain ;* ond priodant yn debyg yr un oedran ag y gwna eu cymydogion y Cenedloedd. Yn eu rhaggyfeillach hefyd y maent yn debyg i'w cymydogion.

Ar ol i'r ddau ieuanc roddi eu bryd ar gael eu gilydd, a chael cydsyniad y rhieni o'r ddau du, y peth cyntaf a wneir ydyw eu dyweddio. Cyflawnir y ddefod yn debyg i hyn :—Ar y diwrnod a'r awr benodedig, y mae y rhieni a hwythau, yn nghyda'r cyfeillion gwahoddedig, yn ymgyfarfod. Y mae rhai o swyddogion y Synagog yn wyddfodol hefyd, yn nghydag ysgrifenydd. Yna y mae yr ysgrifenydd yn tynu i fyny ysgrifrwym, yn cynwys telerau ac ammodau y briodas, yr amser o'i chadw, &c. Nodir y swm sydd i fod yn ddirwy pe gwrthodai y mab neu y ferch gyflawni y cytundeb. Yna torir cwpan yn ngwydd y cwmni,† yn arwydd fod y cyfammod wedi ei wneyd. Cynhelir gwledd a llawenydd ar yr achlysur yn ol amgylchiadau y pleidiau. Nid yr un faint o amser sydd yn wastad rhwng y dyweddiad a'r briodas--weithiau nid oes ond ychydig o fisoedd; bryd arall flwyddyn neu ddwy ; ac weithiau ychwaneg na hyny.

Rhaid rhoddi o leiaf wythnos o rybudd i ysgrifenydd y Synagog fod y cyfryw rai yn bwriadu priodi, fel y gallo yntau roddi hysbysrwydd i'r cadeirydd ; canys rhaid cael ei ganiatad ef cyn y gellir gweini y seremonïau priodasol a rheolaidd. Yna hysbysir y swyddogion sydd i weinyddu ar yr achlysur, sef y prif Rabbi, y ddau ddarllenydd, y *Shamas*, a'r ysgrifenydd ; y rhai cyntaf i wein-

* Mewn gwledydd ar y cyfandir, megys Poland a Rwssia, cedwir at hyn yn gaeth. Yn y dwyrain hefyd y maent yn priodi mor ieuanc a deuddeg neu dair-ar-ddeg oed.

† Dichon fod hyn wedi ei gychwyn oddi wrth yr arferiad o dori yr aberth yn ddarnau wrth wneyd cyfammod. Yn llythyrenol tori cyfammod wnaeth Duw âg Abraham, Gen. xv. 18 ; hyny yw, torwyd yr aberth yn ddarnau oedd i fod yn arwydd y cyfammod.

yddu y gwasanaeth, &c.; a'r olaf i gofrestru y briodas yn ol telerau cyfreithiol y deyrnas. Y prif Rabbi sydd i weinyddu yn benaf ar yr achlysur; ond, fel y crybwyllwyd, y mae y darllenydd a'r *Shamas* yn ei gynorthwyo. Ond os dygwydd, yn y cyfamser, i chwedl fyned ar led fod un o'r pleidiau yn euog o ymddygiad neu fywyd anniwair, ac os ceir, ar ymchwiliad teg, fod sail i hyny, nid yw yn gyfreithlawn i'r prif Rabbi nac i'r darllenydd cyntaf weini yn y briodas, ond yn unig yr ail ddarllenydd.

Ar y nos Wener cyn y briodas, y mae y darllenydd yn canu cyfansoddiad penodol yn nghorff y gwasanaeth; ac ar fore Sadwrn (neu Sabbath) gelwir ar y gŵr ieuanc i fyny at y ddarllenfa i ddarllen rhan o'r gyfraith iddo. Y mae y cyflawniadau hyn o'r pwys mwyaf.

Os bydd y pleidiau yn aelodau o'r Synagog, rhaid iddynt dalu eu holl gyfrifon cyn diwrnod y briodas; ac os na byddant yn aelodau, rhaid iddynt gael trwydded gan swyddogion y Synagog. Telir am dani yn ol fel bo y swyddogion yn barnu yn briodol i amgylchiadau y pleidiau. Os bydd y prif Rabbi yn gweini, ei daliad ef ydyw *gini*. Ond os bydd y pleidiau yn meddu gwaddol priodasol, telir hanner *gini* am bob can punt, nes y cyraedd fil o bunnoedd; ac os bydd uwchlaw hyny, gadewir y taliad at haelfrydedd y pleidiau. At hyn, telir hanner *gini* i'r darllenydd; pum swllt i'r *Shamas;* ac hanner coron i'r ysgrifenydd. Os bydd y pleidiau yn dylawd, gall cadeirydd y Synagog leihau y taliadau fel y barno yn angenrheidiol. Fel hyn, y mae y rhagbarotoadau ar ben.

O'r diwedd, y mae diwrnod y *priodi* yn dyfod, a chyflawnir y seremoni fel hyn,—Y rheol yw, i'r ddau ddyn ieuanc ymprydio trwy y bore; ond dywedodd cyfaill o Iuddew wrthyf na chedwir at hyn yn gaeth; fod yn well gan Iuddewon Llundain, fel eu cymydogion y Cenedloedd, "fwyta tri diwrnod nag ymprydio un." Y mae y ddau yn aros yn eu cartrefi priodol eu hunain hyd y prydnawn. Yn y cyfamser, y mae y priodfab yn anfon rhodd i'r briodferch—rhodd fo'n gyfaddas i adgoffa iddi ddydd eu priodas; ac y mae y ferch yn anfon gwisg wen a *Talith* (am ba un y cawn son eto) iddo yntau. Defnydd y wisg yn gyffredin yw llian, ac yn debyg i

wn o ran ei lun. Pan y mae yr awr wedi dyfod i fyny, y mae y priodfab yn rhoi ei wisg oraf am dano; a'r ferch hithau, yn nghyda gorchudd dros ei gwyneb. Yna arweinir y mab gan ddau gyfaill—yn gyffredin y ddau dad; a'r ferch gan ddwy gyfeilles—yn gyffredin y ddwy fam; i gwrdd â'u gilydd yn y Synagog. Yn gyffredin y mae yno amryw o wahoddedigion yn eu cwrdd, yn nghydag edrychwyr. Rhaid i ddeg gwrryw llawn oed fod yno, i ffurfio cynulleidfa; ac onide, nid ellir eu priodi. Y mae y Rabbi yno hefyd, a'r swyddogion ereill. Ar y canol y mae nenlen *(canopy)* wedi ei pharotoi, yn sefyll ar bedair colofn, y rhai a gynelir gan bedwar neu ychwaneg o ddynion. Defnydd y nenlen yn gyffredin yw melfed neu sidan. Ar ol cyrhaedd y Synagog, arweinir y mab gan ei ddau gyfaill dan y nenlen; a'r ferch yr un modd gan ei chyfeillesau. Yna y mae y Rabbi yn cymeryd gwydraid o win yn ei law, ac yn adrodd y fendith ganlynol: "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! Creawdwr ffrwyth y winwydden! Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiodd ni a'i orchymynion, ac a waharddodd anniweirdeb i ni, gan orchymyn gweddeidd-dra i'r dyweddiedig; ac a osododd briodas i ni trwy rinwedd y nenlen a'r fodrwy ddihalog. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, santeiddydd ei bobl Israel, trwy rinwedd y nenlen a phriodas."

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a greaist lawenydd a llonder y priodfab a phriodferch; hyfrydwch a chân; difyrwch a chydymdeimlad; cariad a brawdgarwch; tangnefedd a chyfeillgarwch. Yn fuan, O Arglwydd ein Duw! clywer yn ninasoedd Judah, ac yn heolydd Jerusalem, lais llawenydd, a llais llonder; llais y priodfab, a llais y briodferch; llais elwch y priodfeib allan o'u nenleni, a'r llanciau o'u gwleddoedd cerddorol. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd! llawenychwr y priodfab a'r briodferch." Yna y mae y priodfab a'r briodferch yn yfed o'r gwin; pryd y cymer y priodfab y fodrwy allan, gan ei rhoddi ar fys y briodferch, yn ngŵydd pawb fo o gwmpas y nenlen. Wrth wneyd hyn, dywed, 'Wele yr wyf yn dy briodi di â'r fodrwy hon yn ol arferion Moses ac Israel." Yna cymer y Rabbi afael yn y *Ketwfah,*

sef ysgrif y dyweddiad. Y mae wedi ei ysgrifenu yn Galdeaeg, ac yn cynwys holl ammodau y briodas o bob tu. Ar ol ei ddarllen yn eu gwydd hwynt oll, cymer wydraid o win, gan offrymu gweddi arall ar eu rhan. Yna cymer y priodfab a'r briodferch lymaid drachefn; ac ar ol hyna, rhydd y priodfab wydr gwag ar y llawr, gan ei sangu yn chwilfriw. Gwneir hyn, meddant, i goffau breuolder bywyd. Dywed ereill o'u hen awduron, na ddylai llawenydd yr Iuddew byth fod heb gymysg o alar, ar ol dinystr Jerusalem. Ar ol tori y gwydr, fel y nodwyd, y mae pawb gwyddfodol yn gwaeddi, *Masol Taf*, hyny yw, Lwc dda i chwi. Ar hyn, y mae y ddefod ar ben.

Y mae y priodfab a'r briodferch, yn nghyda'u cyfeillion gwahoddedig, yn dychwelyd i dŷ ei rhieni hi; a threulir gweddill y dydd a'r rhan fwyaf o'r nos mewn gwledda a llawenydd. Y mae y dull y gwneir hyny yn dibynu i raddau mawr ar amgylchiadau y pleidiau. Os bydd eu hamgylchiadau yn caniatau, y maent yn gyffredin yn parotoi gwledd a *ball* mewn rhyw westfa enwog; ac yn cario y cwbl yn mlaen yn y dull mwyaf gwych ag y medrant.

Y mae yr Iuddew ieuanc yn awr yn ben teulu; ac un o'i ddyledswyddau cyntaf ydyw parotoi y *Mezwzah*. Gair Hebraeg ydyw hwn am bost y drws; a gelwir y *Mezwzah* felly am ei fod yn cael ei hoelio wrth bost y drws. Gwneir o fel hyn—Darperir darn ysgwar o femrwn, tua thair modfedd bob ffordd; ac ysgrifenir ar un tu o hwnw ddwy gyfran o'r gyfraith. Y gyfran gyntaf ydyw Deut. vi. 4—9; a'r ail yw Deut. xi. 13—21. Ar ol gorphen ei ysgrifenu, yr hyn a wneir yn bur hardd a chyda gofal mawr, plygir y memrwn yn blyg oddeutu hanner modfedd o led—yr ysgrif oddi fewn; ac ar y plyg olaf, ysgrifenir y lythyren *Shin*, fel ar y *Tephilin*. Yna rhoddir o mewn amwisg o blwm neu alcan. Y mae twll yn yr amwisg ar gyfer y lythyren *Shin*, er mwyn ei gweled. Y mae y deddfau a nodir gan y Rabbiniaid, sydd raid eu cadw wrth barotoi y *Mezwzah*, yn rhy faith o lawer i hyn o lyfryn. Sut bynag, y mae twll yn nau pen yr amwisg i'w hoelio wrth bost y drws; a rhaid i'r Iuddew, sydd yn awr yn ben teulu, wneyd hyny â'i law ei hun. Hoelir o ar y llaw dde wrth fyned i mewn i'r

tŷ neu ystafell. Rhaid rhoi un ar bob drws yn y tŷ. Pan bo Iuddew yn symud o'i dŷ, gall fyned â'r *Mezwzah* gydag ef, oddi eithr bod Iuddew arall yn dyfod i'w le— y pryd hyny y mae ei symud yn peryglu iechyd a bywyd ei deulu. Nid yw yr Iuddew byth yn myned allan at ei orchwyl heb gusanu y *Mezwzah*; felly hefyd wrth ddychwelyd i'w dŷ. Nid yw yr Iuddew defosiynol byth yn myned trwy un o ddrysau y tŷ heb ymgrymu iddo. Y mae hyn i gyd wedi ei seilio, meddant, ar y gorchymyn sydd yn yr adnodau olaf yn y dospeirth o'r gyfraith a nodwyd uchod; sef, Deut. vi. 9; xi. 21.

Yn awr gadewch i ni edrych ar yr Iuddew yn cyflawni ei ddyledswyddau fel penteulu wrth y bwrdd. Nid mynych iawn y mae amgylchiadau yn caniatau (oddieithr ar y Sabbath) i'r rhan fwyaf o deuluoedd Iuddewig gydeistedd wrth y bwrdd i gael pryd rheolaidd. Pan bo hyny yn cymeryd lle, y mae gan y penteulu orchwyl penodol i'w gyflawni, sef tori a bendithio y bara. Rhoddir dwy dorth gyfan ar y bwrdd, wedi eu parotoi at yr achlysur, ac o lun cornaidd. Ar ol golchi ei ddwylaw, cymer y penteulu afael yn un, a thyr ymaith y rhan uchaf. Tyr hwn yn dafellau, yn ol nifer y rhai fo yn eistedd wrth y bwrdd. Yna dywed y fendith hon: "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn wyt yn dwyn bara o'r ddaear." Gyda hyn bwyty ei dafell ei hun, ac wedi'n rhydd dafell i bob un fo wrth y bwrdd. Nid yw y bara hwn yn rhan o'r pryd, ond cymerir o fel arwydd o ddibyniad ar Dduw am drugareddau tymhorol. Edrychir arno hefyd fel pe bae yn gysegredig: ar yr un pryd, gellir defnyddio gweddill y dorth fel bara cyffredin. Rhaid cadw y dorth arall, sut bynag, yn gyfan heb gyfhwrdd â hi, am y pryd hwnw; o herwydd rhaid iddi fod ar y bwrdd wrth ddweyd y fendith ar ol bwyd. Os na fydd ond un neu ddau o wrrywaid mewn oedran wrth y bwrdd, dywed y penteulu, "Dywedwn fendith;" ac etyb y lleill, "Bendigedig fyddo enw yr Arglwydd, o hyn allan ac yn dragywydd." Yna dywed pob un y fendith wrtho ei hun. Os bydd tri o wrrywaid mewn oedran wrth y bwrdd, dywed y penteulu y fendith yn gyhoeddus, tra bo y lleill yn ei mwmian hefyd. Neu ynte gall y penteulu enwi un o'r gwrrywaid ereill i'w dweyd. Pa un bynag o

honynt a wna hyny, rhaid iddo ragymadroddi fel hyn: "Nyni a fendithiwn yr hwn o roddion pa un yr ydym wedi bwyta;" ac etyb y lleill, "Bendigedig fyddo yr hwn o roddion pa un yr ydym wedi bwyta, a thrwy ddaioni yr hwn yr ydym yn fyw;" ac etyb yntau drachefn yn yr un geiriau. Os bydd yno ddeg o wrrywaid o oedran, rhagymadroddir fel hyn: "Nyni a fendithiwn ein Duw, o roddion yr hwn yr ydym wedi bwyta;" ac etyb y lleill, "Bendigedig fyddo yr hwn o roddion pa un yr ydym wedi bwyta, a thrwy ddaioni yr hwn yr ydym yn fyw;" ac etyb yntau drachefn yn yr un geiriau. Yna dywedir y fendith; ond y mae yn rhy faith i'w chofnodi yma.

Yr ydym yn awr wedi myned dros y pethau neillduol sydd gan yr Iuddew i'w cyflawni yn ei deulu, oddieithr ar ddyddiau gwyl, yr hyn a eglurwn yn yr ail ran. Y mae un peth eto a all ddygwydd iddo, sef ysgar â'i wraig. Yn ol cyfraith Moses, yr oedd gan ŵr hawl i roddi llythyr ysgar i'w wraig, *os na chai hi ffafr yn ei olwg, o achos iddo gael rhyw aflendid ynddi*, Deut. xxiv. 1. Y mae y Rabbiniaid yn methu cyduno beth a feddylir wrth yr ymadrodd. Y mae y cwbl, modd bynag, o'r rhai a gyfrifir yn uniawngred, yn cydsynio ei fod yn cynwys pob peth a all roddi tramgwydd i'r gŵr, hyd yn nod yn mhethau dibwys bywyd, megys methu parotoi ei fwyd i'w foddhau. Gall hefyd ei hysgaru pe dygwyddai iddi golli ei golwg neu ei chlyw, neu yn ngwyneb rhyw anffodion cyffelyb. Nid ellir ei orfodi ef i'w hysgaru ond yn unig am anniweirdeb. Nid all hi ei ysgar ef, na chael ganddo ef ei hysgar hi yn groes i'w ddymuniad; ond gall ef ei hsygar hi yn groes i'w hewyllys. Mewn gair, y mae yr ysgariad yn hollol yn ei law ef. Nid yw Iuddewon Prydain, sut bynag, yn cario hyn allan ddim yn debyg mor bell ag y gwneir mewn rhai gwledydd. Yma ni ysgarir, gydag ambell eithriad, oddi eithr am un o'r tri achos canlynol:—

Os bydd gan y wraig anadl annymunol, ac wedi celu hyny rhag y gŵr cyn eu priodi: hefyd,

Os na fydd yn dwyn plant ar ol bod yn briod am ddeng mlynedd: ac, hefyd,

Os gellir ei phrofi yn euog o anniweirdeb.

Pan y byddo y gŵr wedi penderfynu ysgar ei wraig,

rhaid iddo barotoi *Get;* hyny yw, llythyr ysgar. Rhaid i hwn gael ei ysgrifenu gan un o'u hysgrifwyr eu hunain, yn ol cydsyniad tri Rabbi. Rhaid iddo hefyd gael ei ysgrifenu ar femrwn, a'i gynwys mewn deuddeg llinell. Ei gynwys sydd yn debyg i hyn,—"Ar y —— dydd o'r wythnos, y —— dydd o fis ——, yn y —— flwyddyn o greadigaeth y byd, yr wyf fi ——, mab ——, ac yn awr yn byw yn ——, o ddewisiad rhydd, yn dy ysgar di, gan dy roddi ymaith, a dy wneyd yn rhydd. Tydi, ——, merch ——, sydd yn awr yn byw yn ——, ac hyd yma a fuost yn wraig i mi; wele, trwy y weithred hon yr wyf yn dy ysgar, yn dy roddi ymaith, ac yn dy wneyd yn rhydd. Trwy hyn hefyd yr wyt yn rhydd i briodi y sawl y mynoch di; ac ni chaiff neb awdurdod i dy rwystro o'r dydd hwn allan. Ac wele, yr wyt yn rhydd i unrhyw ddyn; a bydd y celfyn hwn i ti yn lythyr ysgar, yn dy roddi ymaith ac yn rhydd, yn ol cyfraith Moses ac Israel."

Ar ol parotoi y *Get* cyfarfyddir yn y lle ac ar y pryd nodedig. Rhaid fod yno ddeg o dystion. Ar ol i'r Rabbi gwestiwna y gŵr yn fanwl, a chael ei fod yn benderfynol yn ei orchwyl, rhydd y gŵr y *Get* yn llaw y wraig, gan ddywedyd, "Wele, dyma dy lythyr ysgar di, ac â hwn yr wyt wedi dy ysgar oddi wrthyf fi, ac wyt yn rhydd i unrhyw ddyn arall."

Pan y dygwydd fod Iuddew mewn gwlad arall pan yn ysgar ei wraig, gall nodi cenad i gario y *Get* iddi; ond rhaid i hwnw fod yn bresenol pan oedd y gŵr yn gorchymyn i'r ysgrifenydd ei barotoi; ac hefyd, rhaid iddo weled ei ysgrifenu a'i lawnodi. Rhaid iddo hefyd dderbyn y llythyr o law y gŵr yn ngŵydd dau o dystion. Wrth ei roddi, dywed y gŵr fel hyn,—"Cymer y llythyr ysgar yma, a dyro fo i fy ngwraig lle bynag y cei afael ynddi; a bydd dy law di fel f'un i—dy weithred di fel fy ngweithred i; a dy roddiad di fel fy rhoddiad i. Ac yr wyf yn dy awdurdodi i nodi cenad arall os bydd yn angenrheidiol, fel bo i'r llythyr hwn gyrhaedd ei dwylaw; a'r funyd y cyrhaedda y llythyr ysgar ei dwylaw, unai o dy law di neu o law y genad, bydd yn ysgaredig oddi wrthyf fi, ac yn rhydd i unrhyw ddyn arall."

Pan y caiff y genad afael ar y wraig, rhaid iddo ofalu bod yno ddau dyst; ac yno rhydd y llythyr iddi dan

adrodd y geiriau hyn,—"Wele, dyma dy lythyr ysgar di, yr hwn a anfonodd dy ŵr i ti, ac â hwn yr wyt wedi dy ysgar oddi wrtho—yr wyt yn rhydd i unrhyw ddyn arall; ac ysgrifenwyd y llythyr ysgar hwn yn fy ngwydd-fod i."

Ar ol iddynt gael eu hysgar, gallant ail briodi, os dewisant; ac y mae hyny wedi cymeryd lle yn ddigon aml. Ond os bydd y gŵr yn ysgaru ei wraig am odineb, nid allant briodi byth mwy; ac ni chaniateir iddi briodi y sawl fu yn y camwedd â hi; ond gall briodi unrhyw un arall.

Y mae llythyr ysgar arall mewn arferiad hefyd, a elwir *Get ngal Tenai*, llythyr ysgar ammodol. Defnyddir o pan bo y gŵr yn myned i wlad bell am unrhyw amser dros dair blynedd. Ar y cyfryw achlysur parotoir y *Get;* a nodir ynddo, os na fydd y gŵr yn dychwelyd neu yn anfon am y wraig erbyn y pryd a'r pryd, fod y cytundeb priodasol rhyngddynt hwy yn darfod; a'i bod hithau yn rhydd i briodi y neb a fyno. Llawnodir yr ysgrif gan y ddau yn ngŵydd yr ysgrifenydd a deg o dystion. Yna rhoddir y *Get* yn ei llaw hi i'w chadw; ac os na ddaw y gŵr adref, neu os na anfona am dani erbyn yr adeg a nodwyd, gelwir hi bellach, yn nghyda phob un ysgared-ig, yn *Gerwsha;* h. y. un wedi ei rhyddhau.

Nid oes dim penodol yn mhellach yn mywyd ein gwrthddrych yn galw am ein sylw hyd nes y cyrhaedda derfyn ei oes.

IV. Yn awr yr ydym wedi cyraedd y dosparth olaf yn mywyd yr Iuddew, sef marwolaeth a'i ganlyniadau.

Mor fuan ag y clyw yr Iuddew am afiechyd cyfaill neu gydnabod, ei ddyledswydd arbenig yw myned i ymweled â'r claf mor fuan ag y bo modd. Y mae y rhai mwyaf crefyddol a dyhewid yn adrodd y rhanau canlynol o'r ysgrythyrau, yn union ar ol myned i'r ystafell, Deut. vii. 15; Ex. xv. 26; ac Es. lvii. 19. Ac wrth ymadael dywedant, "O anfoned Duw i ti iachâd buan a chyflawn, ac i holl glwyfedigion Israel."

Y mae gan y claf amryw o weddiau a chyffesiadau i'w hadrodd, rhy faith o lawer i'w hadrodd yn bresenol. Os na fydd ef yn eu medru, nac yn gallu eu darllen, gwneir hyny iddo. Os bydd yn ymwybyddol o unrhyw drosedd neu bechod penodol, cymhellir ef i'w gyfaddef,

ac edifarhau o'i herwydd. Ac yn benodol, os ydyw yn euog o droseddu yn erbyn ei frawd, rhoddir y pwys mwyaf ar iddo gydnabod hyny a chael ei heddwch.

Os adferir y claf, y mae yn ddyledswydd arno adrodd neu ddarllen gweddi benodol mewn ffordd o ddiolchgarwch am y drugaredd. Detholiad o lyfr y Salmau ydyw y weddi, ond y mae yn rhy faith i'w chofnodi. Mor fuan ag y gall fyned allan, y ddyledswydd gyntaf yw myned i'r Synagog, i wrando ar ddarlleniad cyfran o'r gyfraith, ac i offrymu rhyw gymaint o rodd i drysorfa y Synagog, fel cydnabyddiaeth i'r Arglwydd am ei ddaioni. Gwneir hyn yn gyffredin ar ddydd Llun a dydd Iau, yr unig ddyddiau wythnosol ar ba rai y darllenir rhanau o'r gyfraith. Dywed hefyd y fendith ganlynol,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn wyt yn estyn trugaredd hyd yn nod i'r euog, ac a ddangosaist y gyfryw drugaredd i minau." Yna ateba y gwyddfodolion, "Bydded i'r hwn a ddangosodd i ti y fath drugaredd, barhau i gyfranu i ti bob dedwyddwch. Selah."

Ond os bydd arwyddion fod y claf yn gwaethygu, ac angeu yn agosau, cymerir y gofal mwyaf rhag gwneyd dim all dueddu i gyflymu ei farwolaeth. Cedwir at hyn mor fanwl, fel, pan fo arwyddion sicr o farwolaeth, ni roddir meddyglyn, na chymaint a dyferyn o ddwfr iddo, oddi eithr iddo ef ei hun ei ddymuno, rhag i'r dyferyn hwnw gyflymu ei farwolaeth; a byddai hyny, yn ol meddwl yr Iuddew, gymaint drwg a phe buasai yn tywallt ei waed. Hysbysir i'r claf ei gyflwr peryglus, ac annogir ef i wneyd brys i ymheddychu â'i Greawdwr. Y mae yn awr yn adeg gyfyng iawn ar ei feddwl ef a'r teulu; canys y mae angau i'r Iuddew, yn anad neb, yn frenin y dychryniadau.

Y peth cyntaf yn awr y dylai y claf ei wneyd, ydyw bendithio ei deulu. Rhaid iddo olchi ei ddwylaw, a'u rhoddi ar ben pob un o'i blant, gan adrodd y fendith hon,—Gwnaed Duw di fel Ephraim ac fel Manasseh. (Gen. xlviii. 20.) Bendithied yr Arglwydd di, a chadwed di; a llewyrched yr Arglwydd ei wyneb arnat, a thrugarhaed wrthyt. Dyrchafed yr Arglwydd ei wyneb arnat, a rhodded i ti dangnefedd." (Num. vi. 24—26.) Bydded i Ysbryd yr Arglwydd orphwys arnat; ysbryd

*doethineb* a deall, ysbryd cynghor a chadernid, ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd. (Es. xi. 2.) Ar ol hyn, rhydd, yn ol ei wybodaeth a'i grefyddolrwydd, gynghorion iddynt, ac yn neillduol i gadw y dyddiau galar yn ol eu defodau, a dweyd *Cadish*, fel y cawn egluro eto.

Os bydd y claf yn nyled rhyw un, annogir o i dalu y ddyled hono yn ddioedi â'i law ei hun, a pheidio ei adael i ofal y teulu. Os bydd hefyd yn euog o ddwyn neu gadw eiddo un arall ar gam, annogir ef i'w ddychwelyd gyda brys. Ni waeth pa cyhyd y bu yn ei feddiant, nac eiddo cyfreithlawn pwy ydoedd; ei ddyledswydd ef yw ei ddychwelyd. Ac hefyd, annogir ef yn mhellach i faddeu i bawb y dichon fod cweryl rhyngddo ef a hwynt. Heb y rhagbarotoadau hyn, dywedir wrthym fod yr enaid yn annghymhwys i fyned i baradwys.

Anfonir, yn y cyfamser, am y gwylwyr. Ac yma y mae yn angenrheidiol sylwi fod dwy gymdeithas o wylwyr yn perthyn i bob Synagog—un i'r gwrrywaid, a'r llall i'r menywaid. Gorchwyl y cymdeithasau hyn, fel y cawn egluro eto yn yr ail ran, yw anfon dau o'u haelodau yn eu cylch, i wylio y claf ddydd a nos hyd ddydd ei farwolaeth. Y mae yr aelodau yn rhoddi eu gwasanaeth yn rhad. Fel hyn y mae yr Iuddew tylotaf yn cael pob gofal dichonadwy yn ei oriau olaf. Nid ymadawant â'r ystafell o'r funyd gyntaf yr ant iddi nes byddo y claf wedi marw, a'i roddi yn yr arch, pan y mae eu gwasanaeth hwy ar ben.

Tra byddo y claf fel hyn yn ymdrechu â marwolaeth, credir fod o yn beryglus i neb sefyll wrth ei ben neu ei draed. Y dyb gyffredin yw, fod pen ei orweddfa yn arosfa y pryd hwnw i'r *Shechinah*, neu bresenoldeb y gogoniant dwyfol, ac felly yn rhy santaidd i neb sefyll yno a byw. Ond wrth y traed dywedir fod *angel marwoldeb*, yn llawn o lygaid mawr llydain, er yn anweledig, a chleddyf angeuol yn ei law.

Ar ol darllen amryw o weddiau iddo, yr ymadroddion olaf a ddywedir yn ei glyw, os bydd yn gallu clywed hefyd, yw y rhai'n,—

"Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu—yr Arglwydd sydd wedi teyrnasu—a'r Arglwydd a deyrnasa yn oes oesoedd."

"Bendigedig fyddo enw ei deyrnas ogoneddus yn oes oesoedd." (Adroddir hon dair gwaith.)

"Yr Arglwydd yn unig sydd Dduw." (Adroddir hon saith o weithiau.)

" Clyw, O Israel, yr Arglwydd ein Duw sydd un Arglwydd."

Dylai y gweddiwyr drefnu y weddi olaf yn y fath fodd ag i adrodd y geiriau *un Arglwydd* pan fo y claf yn rhoddi i fyny yr ysbryd. Y mae hyny o bwys mawr. I ddangos gwerth hyn, dywedir i'r enwog Rabbi Akifa, yr hwn, medd yr hanes, a roddwyd i farwolaeth yn greulawn gan un o Ymerawdwyr Rhufain, wrth adrodd y gyffes hon yn ei funydiau olaf, yru allan y geiriau *un Arglwydd* ar adenydd ei anadliad olaf; ac i lais o'r nef lefaru ar y pryd, " Dedwydd wyt ti, Rabbi Akifa, am fod anadliad olaf dy fywyd yn llawn o gydnabyddiad o undeb y Duwdod. Yr wyt wedi ymbarotoi am fywyd o ddedwyddwch dyfodol."

Mor fuan ag y byddo enaid y claf wedi ymadael o'i dŷ pridd, adroddir y fendith hon gan bawb a fo yn wyddfodol, a chan bawb a glywo y newydd,—" Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, y Barnydd cyfiawn." Rhaid i bob un hefyd a fo yn wyddfodol, wneyd rhwyg yn un o'u dilladau; ond gellir ei wnïo drachefn yn fuan. Ar ol gadael i'r corff aros am oddeutu awr ar y gwely ar ol marw, adroddir amryw ranau o'r ysgrythyr; ac yna rhoddir o ar y llawr, a gobenydd neu dusw o wellt dan ei ben. Ar ol trefnu yr holl gymalau, a'i osod i orwedd â'i draed yn gymhwys tua'r drws, rhoddir llian dû (perthynol i'r Synagog) drosto—*plat pewtr* a halen ar ei frest—cawg a dwfr glân, yn nghyda thywel, yn ei ymyl—a lamp neu ganwyll i losgi wrth ei ben. Tra byddo yn yr agwedd hon, gwylir o gyda'r dyfalwch mwyaf.

Nodir yn awr gladdu gan lywiawdwyr y Synagog; a bydd hono, os bydd modd yn y byd, o fewn cylch y pedair awr ar hugain o farwolaeth y trancedig. Y dull cyffredin o hysbysu yr amgylchiad oedd myned â math o *focs copr* trwy y gymydogaeth Iuddewig, i dderbyn cyfroddion y rhai ewyllysgar i gyfranu; a byddai pawb yn gwybod wrth swn penodol y bocs, mai hysbysu angladd yr oeddid. Ond ni ddefnyddir y dull hwn yn awr:

hysbysir y farwolaeth ac amser yr angladd yn y Synagog.

Pan fyddo yr amdo, &c., yn barod, eir at y gorchwyl o lanhau y corff, yr hyn a elwir *Tahrah*, puredigaeth. Cyflawnir y gorchwyl fel hyn,—Ar ol rhoddi y corff ar astellen bwrpasol, rhwygir y crys fo am dano o'r top i'r gwaelod; a rhoddir cynfas drosto cyn ei noethi. Gadewir y gynfas ar y corff, a defnyddir hi i'w wneyd yn lân; canys rhaid gadael y corff yn orchuddiedig o hyd o'i ben i'w draed: y mae mor ànweddaidd ddynoethi corff marw ag un byw. Golchir y marw â dwfr *claear.* Rhaid defnyddio o leiaf naw *cabbin;* hyny yw, tua naw cwart. Rhoddir y corff i orwedd ar ei gefn, a dechreuir tywallt y dwfr arno, gan ddechreu efo y pen. Tywelltir y dwfr ar y gynfas, a defnyddir hono, fel y soniwyd, i lanhau y corff â hi; canys nid yw yn gyfreithlawn gyfhwrdd y corff marw â'r llaw. Ar ol ei olchi fel hyn o'r pen i'r traed, troir o ar yr ochr dde, pryd y golchir, yn yr un dull, yr ochr chwith a rhan o'r cefn. Yna troir o ar yr ochr chwith, a golchir yr ochr dde a rhan arall y cefn. Yna rhoddir o i orwedd ar ei gefn, a glanheir ewinedd ei ddwylaw a'i draed yn ofalus gyda math o bin pwrpasol. Ar ol gorphen fel hyn, golcha y gwŷr fo wrth y gwaith eu dwylaw eu hunain, gan eu sychu yn lân. Yna cymer pedwar o honynt afael mewn cynfas sech, a daliant hi dros y corff i'w guddio, tra bo ereill yn symud yr un wleb; ac yna arllwysir naw *cabbin* arall o ddwfr *oer* dros y corff noeth, gan ddechreu, fel o'r blaen, efo y pen. Yn y cyfamser rhoddir napcyn yn ngenau y marw rhag i ddim dwfr fyned iddi. Y dwfr olaf hwn a ystyrir yn wir buredigaeth; a chyn ei dywallt, adroddir y geiriau hyn,—

"Ac efe a dywalltodd o olew yr eneiniad ar ben Aaron, ac a'i heneiniodd ef i'w gysegru." (Lef. xiii. 12.) "Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân fel y byddoch lân: oddi wrth eich holl frynti, ac oddi wrth eich holl eilunod y glanhâf chwi. (Es. xxxvi. 25.) Byddwch yn santaidd, canys yr wyf fi, yr Arglwydd eich Duw, yn santaidd."

Puredigaeth! Puredigaeth! Puredigaeth!

Ar ol sychu y corff â llian glân, rhoddir cap am ei ben, a dywedir,

"Ac efe a osododd y meitr ar ei ben ef."

Sychir yr astellen hefyd, yn nghyda y llawr, gyda'r

gofal mwyaf. Yna rhoddir y corff yn yr arch; ac wrth wneyd hyny dywedir fel hyn,—

"Eled i'w le terfynedig mewn heddwch."

Y mae arch pawb, y cyfoethog a'r tylawd, yr un peth—dim ond astellod *dêl* wedi eu rhoddi yn nghyd yn y dull mwyaf syml a diaddurn. Gwisgir y corff â chap, ac â llodrau, ac â chrys, ac â chadach gwddf, ac â math o fantell—y cwbl i gael eu gwneyd o *galico* gwyn neu lian. Ac, yn olaf, rhoddir y *Talith* am dano, yn gymhwys yn y dull yr arferai ei wisgo pan yn fyw. Weithiau ni roddir ond amdo, cap, a *Thalith*. Ar ol rhoddi y corff i orwedd yn briodol, a gosod pob cymal yn ei ffurf priodol, rhoddir dau gwd bychan yn llawn o bridd dan ei ben. Weithiau y mae y pridd yma wedi ei gyrchu o bwrpas o wlad Canaan. Y mae personau wedi bod yn eu plith a'u hunig swydd ydoedd cyrchu pridd o'r tir santaidd, a'i werthu i lywiawdwyr y Synagogau i'r dyben uchod; ond nid yw hyn gymaint mewn arferiad yn bresenol; ac eto y mae yr Iuddew uniongred a selog yn rhoi gwerth mawr ar fod pridd gwlad yr addewid yn cydfalurio â'i lwch ef yn y bedd.*

Dywedwyd fod tywel a dwfr glân yn cael eu rhoddi yn ystafell y marw, a lamp i losgi. Credir fod ysbryd y marw yn aros yn yr ystafell, yn anweledig, y mae'n wir, ac yn hofran o gwmpas y goleu am 31 diwrnod: gan hyny, gadewir y goleu yno am hyny o amser. Credir hefyd os bydd y lamp yn llosgi yn lled loyw, fod hyny yn arwydd o ddedwyddwch yr enaid; ond os bydd yn llosgi yn dywyll, bydd hyny yn arwydd o'i annedwyddwch. Gadewir y dwfr a'r tywel yno am saith niwrnod,

* Y mae ofergoeledd rhyfeddol yn eu plith yn nghylch daear gwlad Canaan; ac yn neillduol o barth cael eu claddu yno. Y mae lluaws, o bob cwr o'r byd, ar ol cyrhaedd oedran teg, yn ymsymud yno i dreulio eu blynyddoedd olaf. Eu hamcan yn hyny yw cael eu claddu yn mhridd gwlad yr addewid—y pridd yn mha un y claddwyd y patriarchiaid a'r prophwydi. Nid parch i'r pridd yn unig sydd yn eu cymhell i hyn. Credant mai yn ngwlad Canaan yr ymddengys y Messiah—yr aiff pawb o'u beddau tan y ddaear i'w gwrdd; ac os cleddir hwynt yno, ni fydd y daith dan-ddaearol ganddynt i'w chyflawni. Ac heblaw hyn, y mae ganddynt ymsyniad y byddant yn esmwythach yn y bedd yno, nag mewn unrhyw wlad arall—fod yn y pridd swyn i leihau eu poenau. Y mae y syniadau hyn, pa fodd bynag, yn darfod yn gyflym yn eu plith.

gan newid y dwfr bob bore, dan y dybiaeth fod yr ysbryd yn ymolchi am gynifer o weithiau. Ni chaniateir chwaith i neb orwedd ar y gwely y bu y marw arno, am saith niwrnod, am ei fod yn halogedig; ac o gwrs, newidir y dillad cyn ei ddefnyddio. Hefyd, rhaid taflyd yr holl ddwfr allan o'r tŷ, ac o'r tri thŷ agosaf i dŷ y marw ar bob ochr; h. y., os Iuddewon fydd yn cyfaneddu yn y tri thŷ ar y llaw dde, ac yn y tri thŷ ar y llaw aswy, rhaid taflyd y dwfr o'r rhei'ny yn gystal ag o dŷ y marw ei hun. Y rheswm ydyw hyn—credir fod angel marwolaeth wedi tori gwddf y marw, er yn anweledig i ni, a'i fod wedi golchi ei gyllell yn y dwfr fo yn y tai a enwyd, a thrwy hyny wedi ei halogi.

Y mae yr holl bethau hyn yn cael eu cyflawni yn absenoldeb y teulu, canys ni chaniateir i neb o honynt hwy fod yn yr un ystafell a'r marw. Pe dygwyddai na fyddai gan y teulu ond un ystafell, byddai yn rhaid gwneyd gwahanai ynddi am y pryd, i'w throi yn ddwy. Y maent hwythau yn y cyfamser yn ymolchi, ac yn newid eu dilladau; a'r rhan wrrywaidd, os bydd yno rai, yn tori eu barfau; canys nid yw yn gyfreithlawn gwneyd dim o'r cyfryw bethau tra parhao eu dyddiau galar.

Cyn symud y corff o'r ystafell, caniateir i'r perthynasau a chyfeillion, a phawb a adwaenai y marw, dalu eu hymweliad âg ef. Amcan yr ymweliad yma ydyw gofyn ei faddeuant. Dynoethir ei wyneb a'i draed, a daw yr ymwelwyr yn mlaen, y naill ar ol y llall, ac ymaflant yn modiau ei draed, gan ofyn ei faddeuant am bob cam a wnaethant iddo, a dymuno arno wneyd coffâd ffafriol o honynt yn y byd ysbrydol. Yna y mae yr holl fenywaid yn ymneillduo, canys nid oes caniatâd iddynt hwy ymuno yn yr angladd. Dywedir fod y gwaharddiad yma wedi ei seilio ar y dybiaeth fod presenoldeb y rhyw fenywaidd yn rhoddi mwy o allu i angel marwolaeth nag sy ganddo yn eu habsenoldeb. Ond y mae yr holl wrrywaid yn myned gyda'r corff at y bedd. Ar ol i swyddog y Synagog ddyfod, ac adrodd amryw weddiau ar yr achos, y mae y galarwyr yn dynesu at yr arch. Yr achau sydd i alaru yw y rhai'n—rhieni am eu plant, y plant am eu rhieni—gŵr a gwraig am eu gilydd, a brawd a chwaer am eu gilydd. Safa y gweinidog un ochr i'r arch, a daw y galarwyr yn olynol yr

ochr arall, gan ledorwedd arni. Yna cymer y gweinidog ei gyllell, ac a dyr dwll, tua dwy fodfedd o hyd, yn y wisg uchaf, yn ymyl y fraich dde, gan ei rwygo drachefn â'i ddwylaw. Yn gyffredin, gwneir y rhwyg yma i'r gwrrywaid yn llabed yr hugan sy i fyny ar y frest. Ond ar farwolaeth tad neu fam, gwneir y rhwyg ar yr ochr chwith yn yr holl ddillad, oddieithr y crys. Gelwir y rhwyg yn *Keringah;* a rhaid ei wisgo am ddeuddeg mis. Eir â'r corff yn awr allan, a chludir o i dŷ ei hir gartref. Ystyrir hebrwng y marw i'w orweddfa olaf yn weithred rinweddol iawn. Gan hyny, y mae lluaws yn mhob angladd heblaw y gwahoddedigion. Y mae rhai mewn cerbydau, a rhai ar draed. Yn gyffredin, y mae o ddwsin i ugain o gerbydau yn canlyn eu gilydd yn yr angladd. Ar ol cyrhaedd y fonwent, rhoddir o mewn adeilad sydd wedi ei godi o bwrpas i'r gwasanaeth, tebyg i ysgoldy cyffredin. Enw y tŷ ydyw ***Beth-Chaiim,*** tŷ y rhai sydd yn byw. Codir caead yr arch i edrych a ydyw pobpeth mewn agwedd priodol; ac ar ol ei gau drachefn, offrymir gweddi gan y gweinidog, rhy faith i'n dalenau presenol. Oddi yma eir âg o ar yr elor at y bedd, yr hwn sydd yn gorwedd o'r gogledd i'r de; a thra y mae y claddwyr yn ei roddi yn ei orphwysfa, y mae y gwyddfodolion yn dweyd, "Deued mewn heddwch i'w le rhagderfynedig." Yna y mae y cyfeillion yn dynesu, a phob un yn taflyd rhawiaid o bridd ar y marw. Wrth ddychwelyd oddi wrth y bedd, tynant bawb ei dusw o laswellt, gan ddywedyd, "A phobl y ddinas a flodeuant fel gwellt y ddaear." Yna golchant eu dwylo mewn lle sydd yno i'r pwrpas, gan ddywedyd, "Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth; a'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddi ar bob wyneb; ac efe a dŷn ymaith warthrudd ei bobl oddi ar yr holl ddaear: canys yr Arglwydd a'i llefarodd." Ar ol adrodd rhai Salmau, y mae y gwasanaeth ar ben.

Ar ol dychwelyd oddi wrth y bedd, y mae dyddiau galar yn dechreu, y rhai a elwir *Shifngah*, am eu bod i bara saith niwrnod. Dywedwyd eisioes pa achau neu berthynasau sydd i alaru. Am y diwrnodau hyn nid yw yn gyfreithlawn iddynt ymwneyd â dim gorchwylion, na chymaint a myned o'r tŷ. Eisteddant ar y llawr yn droednoeth; h. y. heb esgidiau. Gwaharddir pob math

o ddifyrwch neu bleser; ac ni chaniateir iddynt ddarllen dim oddieithr rhanau galarus yr ysgrythyrau, megys Job a'r Galarnad. Yr unig gysur a fwynhânt am y dyddiau a enwyd sydd oddi wrth ymweliadau eu brodyr. Gan yr ystyrir ymweliad â'r galarus yn weithred rinweddol iawn, y mae yr ymweliadau yn gyffredin yn bur fynych. Nid yn unig y mae yr holl berthynasau a'r cyfeillion yn dyfod yn eu tro, ond hefyd dyeithriaid na fu dim cyfeillach na chydnabyddiaeth erioed rhyngddynt a'r teulu. Fel hyn y mae y drws yn agored i bwy bynag a ddaw. Nid yw yr ymwelydd yn gwneyd un math o gyfarchiad i'r galarwyr wrth fyned i'r ystafell, fel ar achlysuron ereill; na'r galarwyr chwaith yn cymeryd dim sylw o hono yntau. Os teimla awydd i eistedd, fe gymer gadair o hono ei hun, yn ddiseremoni, fel mater o gwrs. Ond wrth fyned allan fe ddywed, "Bydded i'r Hollbresenol eich dyddanu chwi, yn nghyda holl alarwyr ereill Seion a Jerusalem." Nid yw yr ymwelwyr chwaith yn dyfod yn waglaw; ond yn gyffredin y mae ganddynt roddion i'r galarwyr; ac y mae hyny o bwys mawr i deuluoedd sydd yn byw wrth eu llafur dyddiol. Trwy y rhoddion hyn fe gynelir y teulu â digonedd dros adeg y galaru. Yn wir, nid yw yn iawn iddynt barotoi cymaint ag un pryd o fwyd ar ol claddu. Y mae y cyntaf a gymerant ar ol dychwelyd o'r fynwent yn gynwysedig, yn gyffredin, o ŵyau wedi eu berwi yn galed. Tra parhao y saith niwrnod galar, y mae y *Minion* * yn dyfod at y galarwyr bob hwyr a bore i adrodd y gweddiau. Chwanegiad pwysig at hyn hefyd yw darllen cyfran o'r Talmud fore a hwyr; ac os na fydd neb cysylltedig â'r teulu yn medru gwneyd hyny, yn gyffredin fe gyflogir un i'r pwrpas. Ar y Sabbath, pa ddiwrnod bynag o'r *shifngah* y dygwydd iddo fod, rhoddir heibio arwyddion y galar. Y mae y galarwyr yn gwisgo am danynt fel arferol, yn ymdroi yn y tŷ fel arferol, ac yn myned allan hefyd i'r Synagog; ond nid oes caniatâd iddynt fyned i mewn iddi, fel ar amserau ereill—rhaid iddynt aros allan wrth y drws nes byddo y darllenydd wedi dyfod yn mlaen yn y gwasan-

* *Minion* yw deg neu ychwaneg o wrrywaid mewn llawn oed yn cwrdd â'u gilydd i adrodd y gweddiau.

aeth at y Salm sydd i'w darllen i dderbyn y Sabbath i mewn. Yna daw y galarwyr i mewn hefyd, pryd y cyfyd yr holl gynulleidfa, gan blygu tuag atynt, a dweyd, "Ymgrymwn tua'r galarwyr." Ar yr un pryd hefyd y mae y Rabbi yn cerdded at y drws i'w derbyn, gan eu cyfarch, "Bydded i'r Hollbresenol eich dyddanu chwi, yn nghyda holl alarwyr Seion a Jerusalem." Yna eisteddant; nid yn eu lleoedd arferol, ond ar fainc wrth y drws, a elwir "*Mainc y galarwyr.*"

Ar ol terfynu y *shifngah*, gall y galarwyr fyned at eu gorchwylion arferol; ond rhaid cadw *Sheloshim* yn ddyddiau galar, hyny yw, yr holl fis; a gelwir o felly am ei fod yn cynwys deg diwrnod ar hugain. Tra parhao *Sheloshim*, rhaid gadael i'r lamp losgi, y barf heb ei dori, a phob arwydd arall o alar trwm. Ar ol terfynu y *Sheloshim*, dysgwylir i'r galarwyr ymgadw trwy y flwyddyn oddi wrth bob difyrwch a llawenydd penodol. Cedwir cylchwyl flynyddol gan yr holl deulu ar ol marwolaeth rhiant: cedwir y lamp i losgi trwy y dydd, anfonir rhoddion i'r tlodion yn ol eu gallu, ac aiff y gwrrywaid i'r Synagog yn gryno y diwrnod hwnw.

Un o'r dyledswyddau mwyaf pwysig sydd yn canlyn marwolaeth y rhieni yw gwasanaeth y *Cadish;* hyny yw, gweddi dros y marw. Credir fod enaid yr ymadawedig yn myned i uffern am un mis ar ddeg, beth bynag fyddo ei nodweddiad; ond wedi hyny, bod eneidiau y rhai da yn cael eu cymeryd i baradwys; ond eneidiau y rhai drwg yn aros mewn poenau am byth. Nid ydynt yn cael eu cau i fyny yn y lle poenus hwnw fel mewn carchar, ond y maent yn agored i gael eu dychwelyd i'r byd hwn, a'u rhoddi i fyw yn nghyrff anifeiliaid; ar yr un pryd yn dwyn eu poen a'u gwarth gyda hwynt. Y mae eu syniadau am fyd arall yn hynod o dywyll a chymysglyd. Y mae y dyb fod yr enaid yn myned i boenau, fel y nodwyd, am un mis ar ddeg, yn dyb gyffredinol a phenodol iawn; ac nid oes dim yn cael mwy o ddylanwad ar feddwl yr Iuddew. Credir hefyd yr un mor ddiysgog fod dweyd y *Cadish* ar ran yr enaid ymadawedig, yn lleihau ei boenau yn ddirfawr. Gan hyny, teimla yr Iuddew y pwys mwyaf mewn cael rhyw un i ddweyd *Cadish* ar ol ei farwolaeth. Dyma y prif achos fod rhieni mor awyddus i gael plant gwrryw-

aidd; canys y plant sydd i adrodd y weddi am y rhieni —nid y merched, ond y bechgyn. Os na fydd ganddynt fab, y maent yn mabwysiadu un, os bydd eu hamgylchiadau yn caniatau; ond os na fydd, y mae ganddynt gymdeithasau i ddarparu rhai i'w adrodd am y tlawd a'r amddifad. Felly ni raid i neb fod heb ddweyd *Cadish* ar ei ol, oddieithr yr hynod mewn annuwioldeb: ni chaniateir i'w blant ef ei adrodd drosto.

Rhaid dweyd y *Cadish* bob hwyr a bore am yr un mis ar ddeg. Dywedir hi hefyd bob blwyddyn ar gylchwyl marwolaeth yr ymadawedig. Y mae y dydd hwnw, fel y crybwyllwyd eisioes, yn cael ei gynal fel diwrnod pwysig, ac adnabyddir o fel y cyfryw wrth yr enwad *Jahr Tseit*, geiriau wedi eu benthyca o'r Germanaeg.

Dyfynnodwn yn awr ymadrodd neu ddau o waith eu hawduron, ar athrawiaeth y *Cadish*:—"Gan hyny y ddefod yw, am ddeuddeg mis, adrodd y weddi a elwir *Cadish*, a darllen y wers yn y prophwydi, a darllen y weddi hwyrol ar fynediad y Sabbath allan, canys dyna yr awr y mae yr eneidiau yn dychwelyd i uffern; ond pan y mae y mab yn gweddio ac yn santeiddio yn gyhoeddus, y mae yn prynu ei dad a'i fam o uffern."

Fe wêl y darllenydd mai y rheol yw adrodd y *Cadish* ddeuddeg mis; ond y mae athrawon ereill yn dweyd nad oes angen ei adrodd ond yr un mis ar ddeg, rhag gwarthruddo yr ymadawedig, a'i gyfrif yn mhlith y rhai drygionus sydd raid fod yno am ddeuddeg mis. Dyna eu geiriau,—"Y ddefod yw peidio dweyd *Cadish* ond am un mis ar ddeg, rhag taflu sarhad ar nodweddiad y tad neu y fam ymadawedig, fel pe buasai yn un drygionus, canys deuddeg mis yw ysbaid y drygionus." Hefyd, rhaid i'r darllenydd sylwi fod yr Iuddewon yn credu fod yr holl eneidiau yn cael gollyngdod o uffern ar y Sabbath, ond yn gorfod dychwelyd yno ar fachludiad yr haul prydnawn ddydd Sabbath. Eto,

"Y mae Israeliaid sydd yn pechu â'u cyrff, yn gystal a'r Cenedloedd, yn disgyn i uffern, a bernir hwy yno am ddeuddeg mis. Ar ol y deuddeg mis, difäir eu corff, a llosgir eu henaid, ac y mae y gwynt yn eu gwasgaru dan wadnau traed y cyfiawn, fel y dywedir, 'Chwi a sethrwch yr annuwiolion, canys byddant fel lludw dan wadnau eich traed chwi,' Mal. iv. 3. Ond hereticiaid,

athrodwyr, ac epicuriaid, fo'n gwadu y gyfraith neu adgyfodiad y meirw, neu y rhai fo wedi ymneillduo oddi wrth arferion y gynulleidfa, neu y rhai fo wedi peri eu hofn yn nhir y rhai byw, y rhai a bechasant, neu a wnaethant i ereill bechu, fel Jereboam fab Nebat, y mae pawb o'r cyfryw yn myned i uffern, ac yn cael eu barnu am byth."

Y mae y mab, gan hyny, yn myned i'r Synagog bob hwyr a bore ar yr awr weddi, am yr amser a nodwyd, ac yn adrodd y *Cadish* yn gyhoeddus, yr hon sydd fel y canlyn:—"Bydded i'w enw mawr (Duw) gael ei ddyrchafu a'i santeiddio, yn ol ei ewyllys, yn y byd a grewyd ganddo. Bydded iddo sefydlu ei deyrnas yn eich oes, ac yn eich dyddiau, ac yn oes holl dŷ Israel yn fuan, ïe, mewn byr enyd; a dywedwch, Amen.

"Bendithier ei enw mawr yn oes oesoedd.

"Yn foliannus, yn ogoneddus, yn ddyrchafedig, yn fawreddig, yn barchus, ac yn dra-addoledig y bo ei enw santaidd; bendigedig a fyddo yn mhell uwch law pob bendith, ac emynau, a moliant, ac ymadroddion dyddanwch, a adroddir trwy yr holl ddaear; a dywedwch, Amen.

"Bydded i gyflawnder heddwch, yn nghyda bywyd, gael ei roddi i ni ac holl Israel; a dywedwch, Amen.

"Efe, yr hwn sydd yn gwneuthur heddwch yn y nefoedd uchod, a rydd heddwch i ni a holl Israel. Amen."

Er nad oes dim cyfeiriad yn y weddi at yr enaid ymadawedig, (yn wir, nid yw ond darn o'r gwasanaeth a adroddir ar fore Sabbath,) eto credir fod ganddi ddylanwad rhyfedd yn y byd anweledig. Gall y darllenydd ffurfio barn led gywir am hyny pan y dywedwn wrtho fod syniadau fel y chwedl ganlynol, yn cael eu credu yn ddiysgog gan gorff y genedl.

"Yr oedd Rabbi Manasseh yn teithio yn Spaen, ac fe welai ddyn ar fynydd yn mhell oddi wrtho, a baich o goed ar ei ysgwydd, er y gwyddai trwy ei wybodaeth o'r *Cabalah*, fod y dyn wedi marw. Tra yr oedd y Rabbi yn syllu arno, fe welai y dyn yn cymeryd y coed i lawr, yn taro tân trwy rwbio dau ddarn o bren yn nghyd, ac yn eu cyneu; ac yno yn gorwedd ar y tanllwyth nes ei losgi yn ludw. Yna daeth yr angel Gabriel âg ysgubell yn ei law, ac ysgubodd y lludw yn dŵr, a daeth y

dyn yn fyw yn ei ol. Ar hyn gofynodd y Rabbi iddo, beth oedd o yn euog o hono yn ei fywyd pan yr oedd dan rwymau i oddef y fath arteithiau. Atebodd yntau, "Yr wyf yn awr wedi marw er ys ugain mlynedd. Yr oeddwn yn Iuddew drwg dros ben, yn euog o bob bai oddieithr lladd; a'r foment y bûm farw, rhoddwyd barn yn fy erbyn y cawn fyned bob dydd am gan mlynedd i gasglu coed i losgi fy hun, fel y gwelsoch fi heddyw. Y mae ugain mlynedd wedi myned heibio; ond O! y mae pedwar ugain yn ol." A oes dim help i chwi, ebai y Rabbi, yn y byd isaf? Oes, ebai yntau, y mae genyf fab yn byw yn Andalusia, yn Spaen, a phe bae o yn dweyd *Cadish*, fe'm gwaredid o'm poenau. Pa ham, ynte, ebai y Rabbi, na fae eich mab yn dweyd *Cadish*, yn ol arfer yr Iuddewon? O, ebai yntau, yr oeddwn mor ddrwg fel nad wyf yn haeddu hyny:* yr oeddwn yn greulon wrth fy mhlant, ac yn pechu yn erbyn Duw.

"Wrth glywed hyn, addawodd y Rabbi ymweled â'r mab, ac aeth yno yn ddioedi. Ar ol cyrhaedd y lle aeth i'r Synagog, ac yn nghanol y gynulleidfa, ymholodd am y rhai oedd wedi marw, yn neillduol y dyn oedd wedi marw 20 mlynedd yn ol. Atebwyd ef, fod yn rhaid iddo beidio ymholi, fod y cyfryw un mor ddrwg fel na ddylid ei enwi yn y Synagog. Ond dywedodd wrthynt y cwbl a welodd, a chafodd afael yn y mab. Mor fuan ag y clywodd am gyflwr ei dad, toddodd ei galon, a chyfaddefodd ei fod wedi esgeuluso dweyd *Cadish* am dano, o herwydd ei fod mor annheilwng tuag ato ei hun, ei deulu, a'i Dduw. Dymunodd y Rabbi arno ddweyd *Cadish*. Gwnaeth yntau, y prydnawn hwnw, yn nghanol y gynulleidfa. Rhwng unarddeg a deuddeg o'r gloch y noswaith hono, tynwyd lleni gwely y Rabbi o'r neilldu. Wele y dyn marw yn sefyll yn ei ymyl âg ysmotyn claerwyn ar ei gorff, a dywedai, "Gwelwch y pwysfawrogrwydd o

* A oedd y lleidr ar y groes heb blant tybed; neu ynte a oedd o wedi treulio bywyd mor ddrwg nad oedd ganddo obaith i neb ddweyd *Cadish* am dano? Efallai mai ystyriaethau o'r fath a'i harweiniodd i ddechreu meddwl am y person bendigedig oedd ar y groes yn ei ymyl. Sut bynag, goleuwyd ei feddwl i ganfod ei fawredd. "Arglwydd," ebai ef, "cofia fi pan ddelych i'th deyrnas." Mor groes i athrawiaeth y *Cadish* a'r purdan yw atebiad y Ceidwad, "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys." Luc xxiii. 43.

ddweyd *Cadish*. Y tro cyntaf y dywedodd fy mab hi, fe'm gwaredwyd o un flwyddyn o boenau; a phob tro y gwna hyny, mi gaf un flwyddyn lai i ddyoddef." Parhaodd y mab yn ffyddlawn i ddweyd *Cadish;* ac ar ol iddo ei dweyd y bedairugeinwaith, ymddangosodd y tad drachefn i Rabbi Manasseh, fel goleuni dysglaer, yn llawn o ogoniant, gan ei gusanu, a dweyd, 'Ewch, a dywedwch wrth yr holl Iuddewon y pwysfawredd o adrodd gweddiau am yr ysbrydion ymadawedig. Yn awr, y mae fy enaid i wedi ei berffeithio, fe gaiff fyned i baradwys, ac ni chofir fy mhechodau mwyach.' "

Heblaw y *Cadish*, y mae ganddynt weddi arall dros y meirw i'w hadrodd yn y Synagog dair gwaith yn y flwyddyn; sef, ar y tair ŵyl fawr—y pasg, y pebyll, a dydd y cymod. Y mae gan y darllenydd res o enwau y meirw yn barod. Braint fawr yw cael yr enw ar y rifres hon. Y mae yn cynwys enw rhyw Rabbi—rhyw ŵr cyfoethog fu yn hael at achosion crefyddol a chenedlaethol—swyddog yn y Synagog, neu rhyw un teilwng o goffàd. Pan daw yr adeg i offrymu y weddi, fe rydd y darllenydd arwyddion o hyny, ac arferai pawb fyddai â'u rhieni yn fyw fyned allan o'r Synagog tra bo y weddi hono yn cael ei hadrodd; ond y mae yr arferiad o fyned allan yn darfod. Darllena dros enwau y rhai fo ar y papyr, yn nghyda'u teitlau, &c.: yna adrodda y weddi yn y dull mwyaf toddedig ac effeithiol ag fo modd iddo. Tra y bydd y darllenydd fel hyn yn gweddio yn gyhoeddus dros y meirw, y mae pob un fo i mewn â'i dad neu ei fam wedi marw, yn adrodd gweddi yn ddystaw wrtho ei hun drostynt. Ei chynwys sydd fel hyn:—"Bydded i Dduw gofio enaid fy nhad (neu mam) parchedig, A. B., yr hwn sydd wedi myned i'w orphwysfa; ac ar ei ran ef yr wyf yn awr yn difrifol addunedu elusen. Fel gwobr am hyn, bydded i'w enaid gael ei rwymo i fyny yn mwrnel y bywyd, gydag eneidiau Abraham, Isaac, a Jacob; a Sarah, Rebecah, Rachel, a Leah, yn nghyda'r holl gyfiawnion gwrryw a benyw sydd yn Mharadwys; a dywedwn, Amen."

Yr ydym yn awr wedi canlyn yr Iuddew trwy ei oes, o'i febyd i'w fedd, gan sylwi ar bob peth penodol a berthyn i'w fywyd teuluaidd; ac yn awr yn terfynu ein pennod ar ol ei hebrwng i dŷ ei hir gartref.

## PENNOD II.—YR IUDDEWES.

ISRADDIAD MENYW—EI HOES HYD ADEG PRIODI—EI DYLEDSWYDDAU FEL GWRAIG—GWEDDWDOD.

1. YN ol athrawiaeth y Rabbiniaid, y mae menyw yn mhell iawn is law gwrryw yn mhob ystyr. Ni dderbynir ei thystiolaeth ar unrhyw fater o bwys; ni chyfrifir hi yn rhan o'r gynulleidfa; nid yw i gyflawni dyledswyddau crefyddol fel y gwrryw; ac nid ystyrir ei bod yn alluog i addoli Duw gyda'r un perffeithrwydd a'r dyn. Y mae y syniadau hyn wedi tarddu o agwedd cymdeithas yn y dwyreinfyd. Y maent yn colli tir yn gyflym yn ein hoes ni yn y rhan amlaf o deyrnasoedd Ewrop, ac felly yn Mhrydain. Ar yr un pryd y mae llawer o anwybodaeth a rhagfarn yn aros, ac nid yw yr Iuddewes hyd yn hyn wedi cyraedd y tir y dylai fod arno yn y wlad hon. Mewn pethau crefyddol, y mae y gwahaniaeth mwyaf yn bod, fel y cawn weled eto. Gan hyny, y mae yr Iuddew yn ei weddiau dyddiol yn diolch am nad yw yn fenyw, fel hyn, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn ni'm gwnaeth i yn ddynes" O'r tu arall, y weddi ddyddiol ar y pen hwn sydd wedi ei pharotoi i'r fenyw, sydd fel hyn,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'm gwnaeth i yn unol â'i ewyllys."

Y mae y syniadau hyn, fel y gellid meddwl, wedi peri i'r Iuddewes gael ei hesgeuluso i raddau mawr iawn. Ychydig ac arwynebol yw ei dyledswyddau crefyddol. Nid oes rhwymau arni, yn ol athrawiaeth y Rabbiniaid, i ddarllen a myfyrio yn y Beibl; yn wir, y mae rhai o honynt yn gwahardd hyny. Nid oes rhwymau arni i ddweyd y gweddiau dyddiol fel y mab, nac i fyned i'r Synagog i addoli: yn wir, pan yr aiff yno, nid oes rhyddid iddo ymuno â'r gynulleidfa mewn dim; ond rhaid i'r menywaid, fel y cawn weled eto, eistedd wrthynt eu hunain, a gwrando ar y gwrrywaid. Ar yr un pryd, y mae y syniadau yma am y rhyw fenywaidd yn darfod yn gyflym, fel y cawn achlysuron i sylwi eto.

III. Yr ydym wedi canfod yn y bennod flaenorol beth yw y gwahanol ddefodau cysylltedig â phriodi. Y cwbl

sydd genym yn y bennod hon i'w wneyd, ydyw adrodd y dyledswyddau sydd gan yr Iuddewes i'w cyflawni ar ol dyfod yn wraig.

Ac yn mlaenaf, gan mai arni hi y mae y gofal o barotoi a chegino y bwydydd, ni gymerwn olygiad byr ar eu gwahanol ddarpariadau mewn ymborth. Fel rheol gyffredin, gellid nodi nad yw yn gyfreithlawn cymysgu pethau o wahanol rywiau, yn ol y gwaharddiad yn Lef. xix. 19. Nid yw yn gyfreithlawn chwaith fwyta cig ac ymenyn ar yr un pryd. Seilir y gwaharddiad yma ar Ex. xxiii. 19. Gan hyny, rhaid aros o ddwy i dair awr ar ol bwyta cig cyn bwyta ymenyn. Am yr un rheswm, nid yw yn rheolaidd iddynt fwyta caws y Cenedloedd, o herwydd galwant o yn gymysg o gig ac ymenyn: gan hyny, y mae ganddynt gaws o'u gwneuthuriad eu hunain. Nid oes dim neillduol yn narpariad y bara a'r ymenyn yn wahanol i eiddo eu cymydogion; gan hyny, y mae yr Iuddew yn rhydd i'w prynu lle gwelo yn oraf.

Gellir bwyta pob math o bysgod sydd âg esgyll a chen ganddynt; ond y mae pob math o gregyn-bysgod yn waharddedig. (Lef. xi. 9—12.) Yn mhlith yr adar, y mae yr holl rai gwaharddedig yn cael eu henwi yn Lef. xi. 13—25; gan hyny, y mae pob un na nodir yno yn gyfreithlawn.

Am anifeiliaid, y rheol gyffredin yw, fod pob un na fyddo yn cnoi ei gil, ac yn fforchogi yr ewin, yn aflan. Y mae gwaed pob anifail yn waharddedig. Ni fwyteir chwaith *gymalau ôl* anifeiliaid glân, (fel y sonir yn Gen. xxxii. 32,) heb i nifer penodol o ewinau y forddwyd gael eu tynu allan gan ŵr medrus, fel y cawn weled eto.

Y maent yn hynod o ofalus yn nghylch y cig a fwytânt. Nid yw yn ddigon iddo fod yn gig creadur glân a chyfreithlawn, ond rhaid iddo hefyd gael ei ladd, a'i ddarparu mewn dull priodol. Byddai adrodd yr holl reolau a berthyn i hyn yn ddigon a llanw cyfrol; ond ni roddwn un pwnc yn anghraifft. Er i'r anifail fod yn berffaith yn mhob ystyr, y mae pum peth yn gwneyd y lladdiad yn ddiddefnydd. "1. Os erys y lladdwr am amser penodol cyn gorphen y gorchwyl. 2. Os torir y gwddwg ar un ergyd, megys â chleddyf. 3. Os gyrir y gyllell yn rhy ddwfn, nes ei chuddio. 4. Os llithra y gyllell i lawr neu i fyny o'i lle priodol. 5. Os torir

y corn gwynt nes iddo ddyfod allan cyn gorphen y gorchwyl." Y mae lluaws o gwestiynau yn tarddu oddi ar y rheolau hyn drachefn. Felly hefyd y mae gyda chymhwysder neu annghymhwysder y gyllell a ddefnyddir i ladd. Gan hyny, y mae eisieu i'r lladdwr fod yn hyddysg yn yr holl ddeddfau a berthyn i'w swydd, yn gystal a bod yn fedrus yn y weithred ei hun. Fel hyn, y mae y gorchwyl o ladd, neu o fod yn gigydd, nid yn unig yn alwedigaeth, ond hefyd yn swydd grefyddol. Enw y swyddwr yma ydyw *Shochet;* ac y mae yr enwad yn cynwys dyledswyddau crefyddol yn gystal a chymdeithasol. Nid all neb fod yn *Shochet* heb dreulio blynyddoedd i efrydu y deddfau a'r dadleuon a berthyn i'r swydd, ac wedi hyny myned dan ymholiad manwl gan y Rabbi, a derbyn ei awdurdodiad a'i gymeradwyaeth ef. Ar ol hyny, y mae yn derbyn awdurdod-lythyr i'w swydd. Y mae wedi'n yn rhydd i gael ei ddewis yn *Shochet* yn unrhyw le.

Yn nglŷn â'r *Shochet* y mae swyddog arall, a elwir *Shomer,* gorchwyl pa un yw nodi y cig, yn nghyda thynu y gewynau allan o gymalau ol yr anifail, fel y crybwyllwyd eisioes. Y dull y mae y ddau swyddog yma yn ei barotoi i'r farchnad sydd fel hyn:—Ar ol dewis yr anifail, a'i osod ar ei gefn yn barod i'r lladdfa, y mae y *Shochet* yn edrych dros ei gyllell rhag bod dim arni yn ei annghymhwyso i roddi yr ergyd. Yna, ar un trywaniad, y mae yn tori gwddf yr anifail nes bo y gwaed yn ffrydio; ac mewn munud neu ddwy, y mae yn hollol farw. Ar ol dechreu ei agor, y mae y *Shochet* yn rhoddi ei fraich i mewn i chwilio ei ranau tumewnol, i edrych a yw pob peth yn iawn; a gwna hyn drachefn â'r ysgyfaint pan y cymerir o allan; ac os ceir fod yr anifail yn iach a glân, dywed y *Shochet* ei fod yn *cosher,* hyny yw, yn gymhwys i'w fwyta. Ar ol hyn daw y *Shomer* yn mlaen i gyflawni ei ddyledswydd yntau. Y mae ganddo ddarn o alcan (*tin*) oddeutu tair modfedd o hyd, a modfedd o led, a thwll bychan yn mhob pen. Y mae ganddo hefyd ddarn o blwm, tua modfedd a hanner o hyd, a'r ddau pen wedi eu lledu. Yna y mae yn tori o gwmpas ffin o'r cig, ac yn rhoddi yr alcan drwyddo, a'r darn plwm drwy ddau pen hwnw eilwaith; ac ar ol ei sicrhau, yno y mae yn crogi wrth y cig yn debyg i glo.

Y mae ganddo fath o gogwrn tro (*vice*), i roddi argraff ar ddau ben y plwm. Ar un pen y mae ei enw ef ei hun un ochr, ac A neu S (Hebraeg *) ar yr ochr arall: ar y pen arall y mae y gair *cosher* ar un ochr; a'r dydd o'r wythnos ar ba un y lladdwyd o ar yr ochr arall. Y mae bellach yn barod i'r farchnad. Pob cig heb y nod hwn arno, gelwir o yn *Trephah*, hyny yw, annghymhwys i'w fwyta; ac nid ellir ei ddefnyddio mwy na chig yr anifail gwaharddedig.

Y mae y ddau ddosparth o Iuddewon—yr *Aschenasim* a'r *Sephardim*—yn ymuno yn y gorchwyl yma; ac y mae y swyddogion a nodwyd uchod yn cael eu dewis o'r ddau gyfundeb. Y nifer sydd yn awr yn Llundain, ydyw deg—pum *Shochet* a phum *Shomer*. Ar ol ei barotoi fel hyn, yn y tŷ lladd, prynir o yn gyfanwerth gan gigyddion i'w adwerthu yn y farchnad. Fel hyn y mae cig yr Iuddew yn ddrutach o dipyn nag eiddo ei gymydog. Ar yr un pryd y mae ganddo sicrwydd ei fod yn dda ac iachus, ac y mae hyny o'r pwys mwyaf, yn neillduol yn Llundain, lle mae pob math o furgynach yn cael eu dwyn i'r farchnad.

Arolygir yr holl drafodaeth gan fwrdd dewisedig. I ddwylaw y bwrdd hwn y mae y dreth (os gellir ei galw felly) chwanegol sydd ar gig yr Iuddew yn myned. O'r dreth hon y maent yn talu cyflog y pum *Shochet* a'r pum *Shomer*, a rhoddir y gweddill yn nhrysorfaau y Synagogau. Y mae pob *Shomer* yn cadw cyfrif manwl o bob anifail a leddir, ac yn niwedd pob hanner blwyddyn gwneir yr holl gyfrif i fyny. Yr oedd y cyfrif hannerblynyddol olaf yn sefyll fel hyn: Lladdwyd,—Ychain, 3735; Defaid, 11,166; Lloi, 1037. Ar ol talu pob costau, yr oedd elw yn nwylaw y bwrdd fel y gallwyd rhoddi i bob un o'r pedair prif Synagog, £61, 6s. 3½c.

Cymerir y drefn a nodwyd wrth ladd yr anifail yn benaf er mwyn i'r gwaed redeg yn lân o hono; canys cymerant y gofal mwyaf rhag bwyta gwaed unrhyw greadur. Felly drachefn wrth ei gegino, rhaid iddo aros mewn dwfr am oddeutu hanner awr, ac am oddeutu awr mewn halen, a thrachefn mewn dwfr. Yn y dull hwn tynir y gwaed yn llwyr o hono.

* A yn arwyddo *Aschenasim*, yr Iuddewon Germanaidd; ac S *Sephardim*, yr Iuddewon Portugïaidd, fel y cawn weled rhagllaw.

Heblaw y dyledswyddau cyffredinol hyn a berthyn i'r Iuddewes fo yn benteulu, y mae tair dyledswydd benodol arall nad ellir eu hesgeuluso; sef,

1. Goleuo y lamp Sabbothol. Yn yr oesau a'r blynyddoedd fu, lamp yn unig a ddefnyddid i oleuo ar y Sabbath; ond yn awr defnyddir *gas* neu ganwyllau (cwyr), yn ol fel bo amgylchiadau yn caniatau. Y mae y darpariadau Sabbothol yn luosog a manwl, fel y cawn weled yn yr ail ran. Y wraig, pa fodd bynag, sydd i barotoi y goleu, ac y mae hyny o'r pwys mwyaf. Gan hyny, tra y bo y gŵr a'r rhan wrrywaidd yn y Synagog, y mae hi yn trefnu y bwrdd, ac yn goleuo y lamp. Y mae y lamp yn crogi uwch ben y bwrdd y byddys yn bwyta arno; ond os canwyllau fydd, rhoddir o leiaf ddwy ar y bwrdd. Ar ol eu goleuo, cerdda dair gwaith o'u hamgylch, gan ddyrchafu ei dwylaw, a dywedyd, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiodd ni a'i orchymynion, ac a'n gorchymynodd ni i oleuo y lamp Sabbothol." Os na fydd gwraig yn y teulu, y mae y ddyledswydd hon yn disgyn ar y gweddw, neu y gwrryw henaf.

2. Dyledswydd benodol arall ydyw offrymu y toes. Ar y Sabbath, y mae gan yr Iuddew fara o barotoad neillduol, fel y cawn weled eto. Y rheol yw, i bob teulu barotoi hwn iddynt eu hunain. Cyn dechreu gwneyd y toes yn dorthau, cymer damaid o hono, a thafla fo i'r tân yn offrwm i'r Arglwydd; ac wrth ei wylio i losgi, dywed, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! yr hwn a'n gorchymynaist ni i gyflwyno blaenion ein toes, fel offrwm hedd i ti. Amen." Ond yn Llundain, ychydig o deuluoedd sydd yn parotoi eu bara eu hunain; y mae yn fwy cyfleus a rhad o lawer ei brynu gan bobwyr. Gan hyny, wrth barotoi y bara Sabbathol hwn, y mae Iuddew yn arolygu y pobiad ar ddydd Iau a dydd Gwener, a gwneir yr offrymiad uchod trwy dori tamaid o'r bara a'i losgi.

3. Y ddyledswydd benodol arall ydyw cadw deddfau glanhâd a phuredigaeth yn fanwl. Y mae sylwedd rhei'ny yn Lef. xii. 2; xv. 19—33.

IV. Ar ol treulio rhyw gymaint o amser yn briod, dichon i'r Iuddewes, fel unrhyw un arall, ddyfod yn weddw. Pan y cymer hyny le, ac iddi hithau fod heb

blant, rhaid i frawd ei gŵr ei chymeryd yn wraig, neu ei gollwng yn rhydd i briodi y sawl y myno. Seilir y ddefod ar Deut. xxv. 5—10.

Os na fydd y ddau frawd wedi cydoesi rhyw gymaint; h. y., os bydd y brawd byw wedi ei eni ar ol marwolaeth y brawd marw, nid oes dim rhwymau arno tuag at y weddw. Neu os bydd y brawd byw wedi priodi, ni ddysgwylir iddo briodi y weddw, ond yn unig roddi ei rhyddhâd iddo. Nid ellir ei orfodi i'w rhyddhau; ond os bydd o'r egwyddor a'r teimladau hyny, gall ei chadw am flynyddoedd, ïe, am ei hoes, heb briodi, pa anfantais ac annghysur bynag all hyny fod iddi. O'r tu arall, os bydd yn yr amgylchiadau y dysgwylir iddo ei phriodi, ond yn gwrthod, rhydd iddi ei rhyddhâd. Gelwir y ddefod yn *Chalitsah*, a chyflawnir hi fel hyn: Hysbysir yn y Synagog ar ol gwasanaeth yr hwyr fod *Chalitsah* i fod bore dranoeth. Cyflawnir y ddefod ar ol y gwasanaeth boreol yn nghyntedd y Synagog, ac yn ngŵydd tri Rabbi. Ar ol i'r tri Rabbi eistedd, a galw y pleidiau yn mlaen, gorchymynir i'r ddau adrodd eu hachos. Ar ol eu holi yn fanwl, a chael boddlonrwydd fod y mab yn benderfynol o beidio ei phriodi, y mae y Rabbi yn galw am yr esgid. Esgid ydyw hon wedi ei pharotoi o bwrpas. Ei defnydd ydyw ymyl (*list*) brethyn dû, ac o lun hirfain, a dwy garai hir yn perthyn iddi. Cedwir hi yn y Synagog. Ar ol ei dwyn ger bron, gorchymyna y Rabbi i'r dyn ei gwisgo, a chylymu y careiau o gwmpas ei goes. Yna arweinia y Rabbi y wraig at y mab, gan ei chyfarwyddo i adrodd yn Hebraeg y geiriau hyn,—Gwrthododd fy nghyfathrachwr godi i'w frawd enw yn Israel: ni fyn efe wneuthur rhan cyfathrachwr â mi." Yna dywed yntau yn Hebraeg, "Nid wyf fi foddlawn i'w chymeryd hi." Ar hyn, dattoda y weddw y cylymau fo ar y careiau (rhaid iddi wneyd hyny â'r llaw dde), gan gymeryd yr esgid i ffwrdd, ei tharo ar y llawr, a phoeri o'i flaen, gan ddweyd yn Hebraeg, "Felly y gwneir i'r gŵr nid adeilado dŷ ei frawd; a gelwir ei enw ef yn Israel, tŷ yr hwn y dattodwyd ei esgid." Yna y mae y gwyddfodolion yn cyd-ddweyd, *Y diesgid!* y diesgid! y diesgid! Ar ol hyn y mae ysgrifenydd y Synagog yn cofrestru y *Chalitsah*, a'r Rabbi yn rhoddi llythyr iddi hithau i'r un pwrpas, pryd mae'r ddefod ar ben.

Fe ddaw dyddiau afiechyd a marwolaeth i'w dal hithau fel ei gŵr; ond gan na wneir dim gwahaniaeth penodol rhwng Iuddew ac Iuddewes yn nefodau y claddu, nid oes eisieu i ni fyned drostynt drachefn. Yn unig dywedwn mai rhai o'i rhyw ei hun sydd i'w gwylio pan yn sal, a hwy drachefn sydd i'w golchi, a'i rhoddi yn ei harch.

Yr ydym yn awr wedi arwain y darllenydd trwy yr holl neillduolion a berthyn i fywyd Iuddewig yn y teulu.

---

# Yr Ail Ran.

## Y GREFYDD IUDDEWIG.

Yn y rhan flaenorol, ymgadwyd at ddefodau teuluaidd yr Iuddew; ac er fod cyfeiriad mwy neu lai yn rhei'ny oll at grefydd, eto, yn y rhan hon yr ydym yn amcanu rhoddi golygiad uniongyrchol i'r darllenydd ar grefydd bresenol yr Iuddew. Ac i wneyd hyn gyda'r cywirdeb dyladwy, rhaid i ni roddi ar ddeall i'n darllenydd fod y frodoriaeth Iuddewig yn Mhrydain yn cynwys tri dosparth. Yn gyntaf, yr

*Aschenasim.* Y mae y dosparth yma yn cynwys Iuddewon Germany a Poland, yn nghyda'u brodyr o bob gwlad arall, a phob Iuddew fo yn ymlynu wrth eu dull hwy o wasanaeth crefyddol. Yn ail, y

*Sephardim.* Y mae y dosparth yma yn cynwys yr Iuddewon Portugalaidd ac Yspaenaidd a'u hiliogaeth, yn nghyda phob Iuddew arall fo yn dewis eu dull hwythau o wasanaeth. Ac, yn drydydd, yr

*Iuddewon Prydeinaidd Diwygiedig.* Y mae y dosparth yma yn cynwys ymneillduwyr oddi wrth y ddau ddosparth cyntaf, ac wedi ymuno yn gynulleidfa i gario yn mlaen eu gwasanaeth mewn dull diwygiedig.

Y mae y dospeirth hyn yn gwahaniaethu rhyw gymaint oddi wrth eu gilydd, fel y cawn sylwi eto; ond gan mai i'r *Aschenasim* y perthyn corff mawr y genedl yn Mhrydain, nyni a ddechreuwn gydag egluro y grefydd Iuddewig yn eu cyfundeb hwy.

## PENNOD I.—Cyfundeb yr Aschenasim.

CREFYDD—CYFANSODDIAD—SWYDDOGAETH.

1. Drychfeddwl cenedlaethol sydd gan yr Iuddew am grefydd; hyny yw, y mae yn edrych arno fel peth yn perthyn iddo fel Iuddew. Yn ei syniad ef y mae Iuddewiaeth a'r genedl Iuddewig yn nglŷn â'u gilydd, ac nid ellir eu gwahanu. Gan hyny, nid ellir dweyd fod ganddynt hwy eglwys benodol ar wahan i'r, neu o fewn y, cylch cenedlaethol; er fod hyny yn bod i raddau, fel y cawn weled yn y bennod nesaf; ond yr un peth, mewn ystyr, ganddynt hwy, yw yr eglwys a'r genedl. Dyna hefyd yw y drychfeddwl cyffredin sy ganddynt am Gristionogaeth. Edrychant ar bawb yn y wlad hon fel Cristionogion, heb ystyried mai cymdeithas o gredinwyr wedi ymneillduo o ran eu crefydd a'u buchedd oddi wrth y byd annuwiol yw gwir Gristionogion, a bod pob drychfeddwl arall yn groes i egwyddorion y Testament Newydd. Y canlyniad o hyn ydyw, yn meddwl a theimlad yr Iuddew y mae pob un o'i frodyr yn ol y cnawd a newidio ei ffydd, yn gwadu ei genedl hefyd.

Yn ol y syniadau uchod, ychydig, fel y gellid tybio, o ddysgyblaeth grefyddol sydd yn eu plith. Nid oes dim galw i gyfrif am ddrwg fucheddau, fel sydd yn mhlith Ymneillduwyr, na cheryddu am feiau. Ar yr un pryd, nid yw yr Iuddew fo yn byw yn gyhoeddus aflawen yn cael yr un breintiau ag ereill, ar amrywiol amgylchiadau. Er anghraifft, nid eir âg ef wrth ei gladdu ar hyd y ffordd arferol, ond trwy ryw heol gefn, ac ni chaiff gladdiad mor anrhydeddus a'i frodyr. Pethau o'r natur hyn, yn nghyda dirwyon, sydd yn cyfansoddi dysgyblaeth y grefydd Iuddewig; a dichon fod yr Iuddew yn teimlo eu grym yn fwy nag y gallem ni, Gristionogion, ddychymygu.

Y mae corff duwinyddol Iuddewiaeth yn gynwysedig mewn triarddeg o bynciau, a elwir gyda'u gilydd yn "Gredo Iuddewig." Rhoddwyd hwynt yn nghyd yn eu ffurf presenol gan yr enwog Maimonides, Rabbi o'r 12fed canrif; a derbynir hwynt yn gyffredinol fel sylfaen eu ffydd.

*Y Credo Iuddewig.*

I. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, mai Duw, bendigedig fyddo ei enw, yw Creawdwr a Llywodraethwr pob peth creedig, ac mai ef yn unig sydd wedi gwneyd, yn gwneyd, ac am byth a wna, bob sylwedd.

II. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, mai y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yw yr unig Dduw—ei fod yn un, ac nad oes yr un undeb yn debyg i'w undeb Ef: ac mai Ef yn unig yw ein Duw ni, yr hwn oedd, sydd, ac a fydd byth.

III. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, nad yw y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yn gorfforol, na'i fod yn ddarostyngedig i ddim o'r cyfnewidiadau sydd yn perthyn i ddefnydd; ac nad oes iddo un math o debygolrwydd.

IV. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, mai y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yw y cyntaf a'r diweddaf o bob peth.

V. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, mai ar y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, ïe, arno Ef yn unig y mae yn iawn gweddio; ac nad yw yn iawn gweddio ar unrhyw fod arall.

VI. Yr wyf yn credu, gyda ffydd berffaith, fod holl eiriau y prophwydi yn wirionedd.

VII. Yr wyf yn credu, gyda ffydd berffaith, fod prophwydoliaeth Moses, ein hathraw, (gorphwysed ei enaid mewn heddwch,) yn wirionedd; a'i fod yn rhagori ar yr holl ddoethion a fu o'i flaen ef, neu a ddichon ddyfod ar ei ol ef.

VIII. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, mai y gyfraith sy genym ni yn awr yw yr un a roddwyd i Moses ein dysgawdwr.

IX. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, na chyfnewidir byth mo'r gyfraith hon; ac na rydd y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, byth yr un gyfraith arall.

X. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, fod y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yn gwybod holl weithredoedd a meddyliau dynion.

XI. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, fod y Creawdwr, bendigedig fyddo ei enw, yn gwobrwyo y sawl a gadwo ei orchymynion, ac yn cospi y sawl a'u troseddant.

XII. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, y daw y Messiah; ac er i'w ddyfodiad gael ei oedi, mi a ddysgwyliaf yn amyneddgar ei ymddangosiad buan.

XIII. Yr wyf yn credu gyda ffydd berffaith, y bydd adgyfodiad y meirw, pan y gwel y Creawdwr yn dda. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd. Amen.

Y cyfryw ydyw pynciau ffydd yr Iuddew; ond y mae mwy yn dibynu ar gyflawniad defodau a seremonïau ei grefydd nag ar gredu unrhyw bynciau duwinyddol.

II. Y mae cyfansoddiad y cyfundeb yn bur syml. Y mae deunaw ar hugain o Synagogau yn y deyrnas gyfunol, yn nghydag amryw yn y trefedigaethau. Y mae pob un o'r Synagogau hyn yn cario yn mlaen ei hachosion ei hun, heb ymyryd dim âg unrhyw Synagog arall, oddi eithr mewn amgylchiadau penodol. Fel hyn y mae pob Synagog yn gyfundeb bychan cyflawn ynddi ei hun, fel y cawn weled yn y bennod nesaf. O'r tu arall, y mae yr holl Synagogau hyn yn gwneyd i fyny un cyfundeb, neu gynulleidfa Israel. Uwch ben y cyfundeb yma y mae swyddogaeth a elwir, *Beth Din*, hyny yw, *tŷ barn*. Y mae y *Beth Din* yn gynwysedig o bedwar o bersonau—y Prif Rabbi, a thri ereill o wŷr anrhydeddus y gynulleidfa. Dewisir hwy i'w swydd gan fwyafiant aelodau y gwahanol Synagogau, ac y maent i weithredu am eu hoes, yn niffyg iddynt gyflawni rhyw drosedd arbenodol. Y mae achos yr holl gyfundeb dan eu gofal; ac os cyfyd unrhyw ddadl *grefyddol* mewn unrhyw Synagog, neu rhwng unrhyw bersonau, rhaid ei derfynu gan y *Beth Din*. Y pen yn y swyddogaeth yma ydyw y Prif Rabbi. Gall ef derfynu lluaws o faterion heb gymhorth y *Beth Din*, ond nis gall aelodau y *Beth Din* benderfynu dim hebddo ef. Gan hyny, gelwir ef yn *Haraf Af Beth Din;* hyny yw, y Rabbi, Tad y *Beth Din*. Ar yr un pryd, y mae materion a chwestiynau yn codi o bryd i bryd, nad yw yn gyfreithlawn iddo ef eu terfynu ond mewn cydweithrediad â'r *Beth Din*. Y mae ei ddyledswyddau cyffredin ef yn gynwysedig, yn fyr, mewn arolygu amser y gwasanaeth, ateb cwestiynau ar bethau crefyddol a seremonïol, traddodi pregeth yn fisol yn y Synagog fawr, ac yn achlysurol yn y rhai ereill; arolygu priodasau, ysgariadau, &c.: mewn gair, y mae arolygiad yr holl gyfundeb Iuddewig o ran

defodau crefyddol dan ei ofal ef. Yn nglŷn â hyn, y mae yn ddyledswydd arno ymweled â'u hysgolion ar amserau penodol, ac arolygu eu cynlluniau addysgiadol.

Y Prif Rabbi presenol yw y Dr. Adler. Y mae yn enedigol o *Hanofer*, ac yn ddyn dysgedig, yn neillduol mewn pethau Iuddewig. Dewiswyd ef i'w swydd yn Rhagfyr, 1844, ar ol marwolaeth y Prif Rabbi Hirchel. Yr oedd pedwar o ymgeiswyr; ond etholwyd ef gan fwyafrif dirfawr. Safai yr etholiad neu ddewisiad fel hyn,

| | |
|---|---|
| Dr. Adler, o Hanover . . | 121 |
| Dr. Hirchfeld, o Wollstein | 13 |
| Dr. Hirsh, o Emden . . . | 2 |
| Dr. Auerbach, o Darmstadt | 0 |

Ychydig neu ddim a wyddai mwyafiant aelodau y Synagogau am y naill na'r llall, yr hyn a barodd i rai Synagogau beidio dewis o gwbl; ond gan fod amryw wŷr mawr wedi rhoi eu llais a'u cymeradwyaeth o blaid Dr. Adler, dewiswyd ef. Dechreuodd gyflawni ei swydd gan arwyddo penderfyniad i roi lawr bob diwygiad neu newyddiant yn eu plith; ond y mae cyfnewidiad amlwg wedi cymeryd lle ar ol hyny. Y mae y goleuni sydd yn tori i mewn ar y meddwl Iuddewig, yn ei orfodi i wneyd rhyw gymaint o symudiad.

## PENNOD II.—Y SYNAGOG.

DYSGRIFIAD—SWYDDOGION—GWASANAETH—AELODAETH—CYLLID.

NID oes eisieu i ni ddweyd wrth y darllenydd mai addoldy yr Iuddew yw y Synagog—y mae pawb cydnabyddus â'r Beibl yn gwybod hyn. Yr enw Hebreig a gwreiddiol ydyw *Beth Hacneseth*, hyny yw, tŷ y cynulliad; ac wrth yr enw yma y gelwir hi hyd yn hyn gan Iuddewon y dwyrain. Y mae yr enw Synagog wedi ei gymeryd o'r gair Groeg *Synagôge* (cynullfod neu gynullfa); a chan mai dyma y gair a ddefnyddir am y lle yn y Testament Newydd, y mae yn fwy cydnabyddus yn mhlith y Cenedloedd. Ond yr enwad a ddefnyddir yn

fwyaf cyffredin yn mhlith yr Iuddewon eu hunain, ydyw *Shwl*, gair wedi ei fenthyca oddi wrth y gair Germanaidd *Schule*, ysgol neu addysgfa. Er mai y gair Synagog a ddefnyddir ganddynt mewn argraff Saesonig; eto, mewn ymddyddan, y gair *Shwl* a ddefnyddir, a hefyd gan holl Iuddewon Ewrop ac America.

Tuag at roddi syniadau cywir i'r darllenydd am y Synagog, y mae yn angenrheidiol egluro, mewn dull mor fyr ag y bo modd, y pethau canlynol:—Ei gwneuthuriad, ei swyddogion, ei gwasanaeth, ei rheolau cyffredinol, a'i chyllidau.

I. Nid oes dim yn allanol yn hynodi y Synagog oddi wrth ryw adeilad arall; ond oddi fewn y mae neillduolion na pherthyn i un lle arall o addoliad.

1. Rhenir yr adeilad yn ddwy ran, y llawr a'r llofft. Y llawr yw man priodol y gwrrywaid, ac ni chaniateir iddynt eistedd yn unman arall. Y mae y llawr cyn llawned o eisteddleoedd ag a fyddo yn gyfleus: nid eisteddleoedd cauedig neu goriau, fel y rhai sydd yn gyffredin mewn capeli a llanau, ond math o feinciau. Y mae pob mainc wedi ei rhanu i nifer benodol o eisteddleoedd, a bocs yn ngwaelod y fainc yn perthyn i bob eisteddle. Pwy bynag fo yn cymeryd yr eisteddle, y mae y bocs yn eiddo iddo ef am y pryd, i gadw ei lyfr gwasanaeth a'i *Dalith*, fel y cawn sylwi eto. Nid oes dim gwahanai rhwng yr eisteddleoedd; ond y mae cynifer ag a fyddo â'u heisteddleoedd ar yr un fainc, yn eistedd yn ochrau eu gilydd. Y mae pob un yn myned i'w le ei hun, yn datgloi ei focs, yn cymeryd ei lyfr allan, ac yn niwedd y gwasanaeth yn ei ddychwelyd, ac yn cloi arno hyd y gwasanaeth dyfodol. Cynifer ag a fyddo yn llawr neu gorff y Synagog a gyfrifir yn gwneyd i fyny y gynulleidfa. Rhaid fod yno ddeg—onide nid ellir cynal gwasanaeth; a rhaid i bob gwrryw fod yno, fel y crybwyllwyd, canys ni chaniatair iddo fyned i'r llofft. Y gwrrywaid ar y llawr yw y gynulleidfa.

Y llofft yw lle y menywaid. Ni chaniatair iddynt hwy eistedd ar y llawr, o herwydd ni ystyrir hwynt yn rhan o'r gynulleidfa. Am yr un rheswm hefyd, ni chaniatair iddynt ymuno yn y gwasanaeth ar unrhyw achlysur. Y mae yr eisteddleoedd ar y llofft wedi eu trefnu yn lled debyg i rai y llawr; gyda hyn o wahaniaeth, nad

oes yr un bocs yno, am na chaniatair i'r Iuddewes ddefnyddio na llyfr na *Thalith.* Ar rag *(front)* y llofft y mae rhwydwaith coed, fel llen rhwng y menywaid a'r gynulleidfa. Caniatair iddynt yn unig wrando, ac edrych drwy y tyllau yn y rhwydwaith yma, ar eu perthynasau a'u cyfeillion yn ymuno yn y gwasanaeth; ond os byddant yn meddu y teimladau, druain, nid ellir eu lluddias hwythau i ganu a phyncio yn eu calonau.

2. Y gwrthddrych nesaf angenrheidiol i'w egluro ydyw yr *Hichal*, arch, neu fel y gelwir o yn gyffredin, *Aron Haccodesh*, Y mae hon bob amser yn y pen dwyreiniol i'r Synagog, i gyfeirio yr addolwr at godiad haul. Math o gyst fawr ydyw, wedi ei gweithio o'r coed a'r defnyddiau goraf; ac yn gyffredin wedi ei hadd-urno yn brydferth. Y mae y pen hyny o'r Synagog wedi ei wneyd, o gwrs, yn bwrpasol i dderbyn yr arch. O flaen yr arch, i'w chuddio rhag golwg y gynulleidfa, y mae llen fawr yn crogi wrth fodrwyau; a phan y byddys yn myned i'r arch, llusgir y llen yn gyntaf o'r neilldu. Defnydd y llen ydyw *melfed* neu sidan. Y mae amryw o honynt yn perthyn i'r un Synagog. Y mae un i'w defnyddio ar ddyddiau cyffredin yr wythnos—un arall ar y Sabbath—a rhai ereill ar wahanol wyliau. Y maent o wahanol liwiau; ac wedi eu haddurno yn wahanol âg aur ac arian.

Dyben yr arch yma ydyw cadw y *Torah*, sef y gyfraith. Ac yma efallai fod yn angenrheidiol i ni sylwi, fod yr Iuddewon yn darllen cyfran o gyfraith neu bum llyfr Moses bob Sabbath, fel y cawn weled eto; ond nid o'r Beibl neu lyfr argraffedig, eithr o rol ysgrifenedig. Defnydd y rhol ydyw memrwn, a dim arall, wedi ei barotoi yn fanwl a hardd. Ar ol parotoi y memrwn, ymddiriedir ysgrifenu y gyfraith i'r *Sopher*, swyddog dewisedig i'r gorchwyl. Cyflawnir y gorchwyl gyda'r parotoadau a'r gofal mwyaf. Ysgrifenir y cwbl heb y nodau llafar. Ac yma eto efallai fod yn angenrheidiol i ni sylwi fod llafariaid yr iaith Hebreig, yn ol y dull Iuddewig a chyffredin o'u darllen, yn cael eu nodi â math o nodau bychain, ac nid â llythyrenau, fel mewn ieithoedd ereill. Credir nad oeddid yn ysgrifenu ond y llafariaid pan oedd yr iaith yn cael ei siared yn ngwlad Canaan: gan hyny ni ysgrifenir ond y llafariaid ar y

rhol a ddefnyddir yn y Synagog. Ni ddosperthir o chwaith yn bennodau ac adnodau, fel yn y Beibl, ond i ddospeirth ereill, fel y cawn sylwi eto. Ysgrifenir y cwbl yn golofnau, ac yn y dull mwyaf manwl a gofalus. Ar ol gorphen ysgrifenu, arlynir *(fasten)* dau ben y memrwn wrth rolbren bob un. Rhoddir yr holl femrwn o gwmpas un rholbren; ac wrth ei darllen, dadrolir hi o golofn i golofn, gan ei rholio o gwmpas y llall. Ar ol gorphen y cyfan fel hyn, gwneir gwisg iddi o ddefnydd gwych, ac addurnir o âg addurn drudfawr. Rhoddir coron o aur neu arian hefyd ar dop pob rholbren, a chloch fechan o'r un defnydd. Fel hyn, erbyn ei gorphen, y mae rholiau y gyfraith yn costio gyda'u gilydd oddeutu can punt bob un. Cyflwynir hwy, yn gyffredin, gan wŷr mawr eu cyfundeb, fel rhoddion i arch y Synagog; ac ystyrir hyn yn un o'r gweithredoedd mwyaf rhinweddol, yn gystal ag anrhydeddus. Y mae yn agos i gant o'r rholiau hyn yn y ddwy Synagog fawr—*Duke's Place* a *Bevis Macks*.

3. Rhwng canolbarth y Synagog a'r pen gorllewinol (lle yn gyffredin y mae y drysau) y saif y *Teifah*, neu y ddarllenfa. Math o gor crwn, yn uwch o ryw ddwy droedfedd na'r llawr, ydyw; ond yn dybynu o ran ei faint, &c., ar faintiolaeth y Synagog. Yn y cor gyferbyn a'r arch y darllenir yr holl wasanaeth. Dyna le swyddogion y Synagog, fel y cawn weled rhagllaw. Mewn rhai Synagogau mae y cantorion yn y cwr nesaf i'r drysau o'r *Teifah;* mewn ereill y mae ganddynt eisteddleoedd yn nglyn â hi.

4. Y mae y lleoedd yn y Synagog yn cynyddu mewn anrhydedd a pharch yn ol fel y b'ont yn agosau at yr arch. Y lle mwyaf isel a chyffredin yw y pen gorllewinol, sef oddeutu y drysau; a'r lle mwyaf urddasol yw y pen dwyreiniol, yn agos i'r arch. Gan hyny y mae yr eisteddleoedd ar y llawr yn gwahaniaethu yn eu pris, yn ol fel y b'ont yn agosau at, neu yn ymbellau oddi wrth yr arch; ac yn y llofft, yn ol fel y b'ont yn agosau at y rhwydwaith y soniwyd am dano, i allu edrych tua'r arch. Dyma y rheswm hefyd pam y mae y prif Rabbi yn eistedd, nid fel y swyddogion ereill yn y *Teifah*, ond mewn eisteddfa yn ymyl yr arch.

Yr ydym yn awr wedi sylwi ar y prif bethau angen-

rheidiol i'w hegluro yn y Synagog o ran adeilad. Deuwn yn nesaf at ei swyddogion.

II. Gellir dosparthu swyddogion y Synagog i dri dosparth — Llywodraethol, Gweinidogaethol, a Chyffredin.

1. Y mae y swyddogion llywodraethol yn gynwysedig o'r rhai canlynol—

(1.) *Parnasim*, neu Warchawdwyr. Yn gyffredin eu nifer yw tri, ond nid oes ond dau mewn rhai Synagogau; a dewisir hwynt i'w swydd yn flynyddol, ond mewn rhai Synagogau bob dwy flynedd. Eu dyledswydd yw edrych ar ol holl orchwylion y gynulleidfa, yn y Synagog ac allan o honi. Un o honynt hwy, bob yn ail fis, yw Cadeirydd neu Lywydd y Synagog; ac nid ellir galw unrhyw gyfarfod yn nghyd, na phriodi, na chladdu, na dim penodol arall, heb ei ganiatâd ef.

(2.) Y *Gabah*, neu Drysorydd. Ei orchwyl ef yw edrych ar ol holl arian a thaliadau y Synagog.

(3.) Y *Gabai Tsedecah*, neu Arolygwr y Tlodion. Ei orchwyl ef yw talu cyfranau y tlodion yn ol rheolau y Synagog.

*Sylw.*—Mewn rhai Synagogau, y mae y ddwy swydd olaf yn cael eu gweini gan yr un person.

(4.) Y *Tofei Hangir*, neu Henuriaid. Gelwir hwy mewn rhai Synagogau wrth yr enw Menheigim, neu Gyfarwyddwyr. Y maent hwy yn cwrdd bob mis i ystyried achosion y Synagog.

Dyma nifer y swyddogion llywodraethol, neu, fel y gelwir hwy yn gyffredin, swyddogion mygedawl, yn nghyda'u dyledswyddau gwahanol. O'r rhai hyn ffurfir y corffolaethau canlynol:—

(1.) *Asiphath Roshei Hangedah*, neu Cyfeisteddfod. Ffurfir y cyfeisteddfod yn unig o'r swyddogion uchod. Y maent yn cyfarfod bob mis, i ystyried a chario allan holl drefniadau y Synagog, fel y gwelir wrth fyned yn mlaen.

(2.) *Pecwdei Hangedah*, neu Festri. Cyfansoddir y festri o'r swyddogion uchod, yn nghyda y rhai fo wedi gwasanaethu swydd trysorydd a goruchwyliwr am ddwy flynedd; ac hefyd aelodau fo wedi eu dewis gan y cyfeisteddfod fel aelodau mygedawl. Y maent yn cyfarfod unwaith bob cwarter, yn nghydag ar achlysuron penodol.

Eu gwaith hwy yw ystyried ac arolygu amgylchiadau penodol a dygwyddiadol y Synagog.

*Sylw.*—Mewn rhai Synagogau nid oes ond un o'r cyfarfodydd hyn yn bod, sef y cyfeisteddfod i edrych dros holl achosion y gynulleidfa.

(3.) Y Prawyddion Arianol. Dewisa y cyfeisteddwyr dri o'u plith eu hunain bob blwyddyn i edrych dros y cyfrifon, ac i'w cyflwyno i'r festri, yn nghyda'u golygiadau arnynt.

(4.) Cyfeisteddfod yr Adeilad. Dewisa y festri bob tair blynedd bump o'u plith i weithredu, efo y prif swyddogion a enwyd eisioes, fel cyfeisteddfod i edrych ar ol adeilad y Synagog, yn nghydag unrhyw adeilad arall fyddo yn meddiant y gynulleidfa. Eu gwaith yw cadw y cwbl mewn diwyg priodol. Y maent i gwrdd bob tri mis; ond ni chaniatair iddynt wario dros ddau gant o bunnoedd mewn blwyddyn heb roi y mater i lawr ger bron y festri.

(5.) Cynelir cyfarfod unwaith yn y mis, oddi eithr yn mis *Tishri* a *Nisan*, i unioni amrafaelion personol ddichon fod yn mhlith y gynulleidfa. Cyfansoddir y cyfarfod hwn o'r swyddogion mygedawl, yn nghyda dau aelod o'r festri yn eu tro yn olynol. Os esgeulusa un o'r aelodau weithredu, dirwyir ef o bunt.

Yr ydym yn awr wedi myned dros y swyddogaeth lywodraethol yn fyr; gadewch i ni sylwi eto am funyd ar eu dewisiad i'w swyddau.

Dewisir hwy gan gyfarfod cyffredinol o'r festri, nid trwy godiad dwylaw, ond trwy goelbren. Rhaid i bob un a ddewisir gael saith o fwyafiant o'i blaid, onide rhaid ail ddewis. Dewisir hwynt yn y drefn ganlynol—

Arolygwr y tlodion
Trysorydd
Gwarchawdwyr
Henuriaid.

Hysbysir y gwahanol bersonau yn ddioedi o'u dewisiad i'w swyddau; ac os na cheir atebiad yn mhen pum niwrnod (24 awr mewn rhai Synagogau), ystyrir fod y swydd yn cael ei gwrthod. Os felly, neu ynte os esgeulusa gyflawni y swydd ar ol ei derbyn, yn mhen deufis ar ol eu hetholiad, dirwyir hwy fel y canlyn—

Gwarchawdwr, 40 Gini
Trysorydd, 30 Gini
Arolygwr y tlodion, 25 Gini
Henuriad, 5 Gini.

Y mae eithriadau i hyn yn bod; megys, pan bo y person dewisedig dros 70 oed, ni rwymir ef i dalu; neu os bydd wedi gwasanaethu y swydd o'r blaen, ni rwymir ef i dalu ond hanner y dirwyad. Ond os derbynir y swydd, a gweithredu am ryw dymor, a'i rhoi i fyny cyn terfyn yr amser, rhaid talu cymaint arall o ddirwy. Dewisir yr holl swyddogion hyn o blith aelodau y Synagog.

2. Wrth swyddogion gweinidogaethol yr ydym yn golygu y rhai sydd yn cyflawni dyledswyddau cyhoeddus a chysegredig y Synagog. Y maent yn cynwys y rhai canlynol—

(1.) Y *Chazan*, neu ddarllenydd. Efe yw gweinidog neu bregethwr y gynulleidfa, er nad oes dim pregethu, oddi eithr yn achlysurol, yn y Synagog. Yn gyffredin y mae dau *Chazan* yn perthyn i'r un Synagog. Gelwir yr henaf yn Ddarllenydd blaenaf, a'r ieuangaf yn ail Ddarllenydd. Trefnir eu gwaith yn benaf gan y Cyfeisteddfod. Eu dyledswydd hwynt ydyw darllen yr holl wasanaeth yn Sabbathol ac yn wythnosol, fel y cawn weled eto. Rhaid iddynt fod yn y Synagog o leiaf bum munyd cyn amser dechreu y gwasanaeth. Hefyd, ar bob dydd Gwener, yn nghyda'r dydd o flaen pob dydd Gwyl, rhaid i'r un sydd i ddarllen i'r Synagog fyned dros y rhan hyny o'r gyfraith sydd i'w darllen ar y dydd canlynol, er mwyn ymgynefino â'r wers, neu rhag bod unrhyw ddiffyg yn yr ysgrif. Dyledswydd y darllenydd blaenaf yw gweini yn mhob priodas; ac hefyd rhaid i'r ddau fod yn bresenol yn angladd pob aelod cyflawn, yn nghydag angladd gwraig neu blentyn aelod. Y mae pob trosedd o'r dyledswyddau hyn yn eu gwneyd yn agored i ddirwy, yn ol cytundeb y Cyfeisteddfod.

(2.) Y *Shamas* neu Wasebydd. Gorchwyl y *Shamas* yw rhagbarotoi pob peth angenrheidiol at y gwasanaeth cyhoeddus—edrych ar fod y cwbl mewn trefn—cyhoeddi pob peth fo i'w gyhoeddi yn y Synagog; ac edrych ar fod y Synagog yn cael ei chadw yn lanwaith a thaclus. Os bydd y *Chazan*, o herwydd afiechyd neu ryw ddy-

gwyddiad arall, yn methu dyfod i gyflawni ei orchwyl, disgyna hyny ar y *Shamas;* neu pan bo y *Shamas* yn methu bod yn wyddfodol, cyflawnir ei swydd ef gan un o'r ddau *Chazan*. Rhaid iddo hefyd fyned i bob priodas berthynol i'w Synagog, ac i angladd pob aelod. Os esgeulusa gyflawni ei ddyledswyddau, dirwyir ef gan y cyfeisteddfod.

3. Wrth swyddogion cyffredin, y meddylir y rhai sydd yn cyflawni swyddau annghysegredig y Synagog. Y maent fel y canlyn:—

(1.) Yr Ysgrifenydd. Dyledswydd yr ysgrifenydd yw cadw cyfrifon y gynulleidfa—cadw cofnodau o'r holl gyfarfodydd cyfrinachol, megys y cyfeisteddfod, &c.—cadw cofrestri o bresenoldeb y swyddogion yn y Synagog—ateb pob cohebiaeth perthynol i'r gynulleidfa; a phob peth, yn fyr, fo yn disgyn i'r gorchwyl o ysgrifenu. Gan hyny rhaid iddo fod yn mhob cyfarfod cyhoeddus a neillduol. Rhaid iddo hefyd gadw cofrestriad o bob ysgariad a *Chalitsah* a gymer le yn ei gynulleidfa; a bod yn bresenol yn mhob priodas, er mwyn ei chofrestru yn ol y gyfraith wladol. Cyn ei ddewis i'w swydd rhaid iddo gael meichafon am Ddau Gan Punt.

(2.) Casglwr. Ei orchwyl ef yw casglu yr arian fo yn ddyledus i'r gynulleidfa oddi wrth unrhyw aelod neu feddiant. Ei ddyledswydd yw rhoi y cwbl yn y banc, yn enwau y Trysorydd a'r Ysgrifenydd, fel na bo dros 30 punt yn ei feddiant ar unrhyw amser. Rhaid iddo yntau gael meichafon am Ddau Gan Punt.

(3.) Y Drysawr. Ei orchwyl ef yw cadw iawn drefn oddeutu y drws—cadw y Synagog yn lân—cynorthwyo yn y festri pryd bynag y bo cyfraniadau i'r tlodion yn cael eu gwneyd—parotoi y nenlen ar adeg priodas; yn nghyda gwneyd pob neges fo gan y swyddogion llywodraethol ar ran y gynulleidfa.

Yr ydym yn awr wedi enwi yr holl swyddogion a berthyn i'r Synagog, ac wedi nodi yn fyr eu gwahanol ddyledswyddau. Dylem ddweyd gair yn awr ar ddewisiad y ddau ddosparth olaf i'w swyddau.

Gellir dewis *Prif Rabbi* neu *Chazan* o unrhyw wlad, os bydd yn meddu y cymhwysderau angenrheidiol. Rhaid i'r *Prif Rabbi*, fel y sylwyd eisoes, fod o ddysgeidiaeth oruchel mewn pethau Iuddewig. Rhaid i'r *Chazan*

hefyd fod yn Hebrewr da, ac yn dra hyddysg yn holl ddefodau y gwasanaeth. Yr oedd y swyddau hyn yn cael eu llenwi yn y deyrnas hon bob amser gan Iuddewon y cyfandir, yn benaf o Poland a Germany. Ond yn ddiweddar, y mae dau Iuddew Prydeinaidd wedi eu dewis—Meistri Barnett a Green; ac y mae rhai ereill yn debyg o'u canlyn. Oddi eithr y ddwy swydd yma, cyfyngir pob un o'r lleill at aelodau y Synagog neu y gynulleidfa.

Cyn i ddewisiad i unrhyw swydd gymeryd lle, hysbysir hyny yn y Synagog ar y Sabbath, gan nodi pa swydd, a pha gymhwysderau a ofynir yn y swyddog, yn nghyda pha ddiwrnod fydd yr olaf i dderbyn enwau ymgeiswyr. Rhoddir yr un hysbysiaeth hefyd mewn ysgrif tuallan i ddrws y Synagog. Yna fe edrycha y cyfeisteddfod dros yr enwau; ac os na fydd dim annheilwng yn perthyn i un o honynt, cant oll eu rhestru yn ymgeiswyr. Noda y cyfeisteddfod amser yr etholiad, ac hysbysir hyny yn y Synagog, ac mewn ysgrif y tuallan wrth y drws.

Nid oes gan neb hawl i ethol ond y festri, a'r aelodau hyny fo yn talu dwy gini a hanner yn flynyddol am eu heisteddle, heblaw yr hyn a dalant am eisteddleoedd i'w gwragedd a'u plant. Rhaid hefyd eu bod yn ddiddyled i'r Synagog. Ond rhag i unrhyw amryfusedd gymeryd lle, gwneir rhestr o enwau y rhai fo â hawl i ethol, a rhoddir o yn nwylaw y Cadeirydd. Pan bo pob peth yn barod, bwria pawb ei goelbren i'r bocs, a'r ymgeisydd a gaiff y nifer fwyaf o enwau, fydd yn swyddog. Y mae y Prif Rabbi yn cael ei ddewis yn wahanol, fel yr eglurwyd o'r blaen.

Gelwir y dosparth cyntaf o swyddogion, fel y crybwyllwyd yn barod, yn Swyddogion Mygedawl, h. y. rhai sydd yn cyflawni eu swyddau heb daliad. Y mae y ddau ddosparth olaf yn derbyn cyflog benodol, oddi eithr y casglwr—hyn a hyn y bunt yw ei daliad ef. Nodir eu cyflog flynyddol gan yr un cyfarfod ag sydd â hawl i'w dewis; a thelir y gyflog iddynt yn fisol. Ni ddysgwylir iddynt gyfranu dim at gasgliadau cyffredinol y Synagog. Gallwn sylwi yn mhellach, yn fyr, am y gwahanol swyddau, o barth i'w cyflogau—

Y ddau *Chazan*. Heblaw eu cyflogau, y maent i dderbyn taliad am bob priodas—y cyntaf, un bunt; a'r ail,

ddeg swllt. Nid yw eu cyflogau, sut bynag, yn fawr-dim yn debyg i fwyafiant gweinidogion cristionogol Llundain. Yn wir, y mae y Rabbiniaid Iuddewig wedi rhoddi mewn gwahanol oesau esiampl nodedig o hunan ymroddiad i'w swydd yn ngwyneb angenion mawr. Cynelir hwy a'u teuluoedd yma yn barchus, a dim ond hyny. Ond darperir ar gyfer y weddw, os bydd marw y gŵr o'i blaen—rhoddir un rhan o dair o'i gyflog ef iddi tra byddo hi byw, os na fydd ei buchedd yn annheilwng i'r cyfundeb.

Y *Shamas.* Y mae yntau i dderbyn pum swllt o daliad yn mhob priodas a gymer le yn y gynulleidfa.

Yr Ysgrifenydd. Y mae ef i dderbyn hanner coron am bob cofnodiad o ysgariad a *Chalitsah* a gymer le yn ei gynulleidfa. Telir iddo yr un faint hefyd am gofrestru genedigaeth, priodas, a chladdedigaeth, oddi eithr gan y gyfran gyffredin o'r gynulleidfa—y taliad ganddynt hwy yw swllt. Telir hanner coron iddo hefyd am bob alldra *(extract)* a wna o'r rhai hyn.

III. Ar ol hyna o eglurhad ar y swyddogion, deuwn yn awr at y gwasanaeth.

Yma dylid crybwyll, efallai, mewn dull cyffredinol, fod holl wasanaeth hanfodol y Synagog yn gynwysedig mewn darllen rhanau o'r Hen Destament, Gweddiau, a darnau cymysgedig o waith eu Rabbiniad. Nid oes na phregeth, na darlith, nac annerch, yn gwneyd i fyny ran o'r gwasanaeth, oddi eithr yn achlysurol. Yn y Synagog fawr, y mae Dr. Adler yn traddodi darlith unwaith yn y mis, ac ambell waith yn y Synagogau ereill. Y mae syched cynyddol yn y bobl am bregethu; ac y mae hyny, yn raddol, yn sicr o gymeryd lle. Byddai hyny yn un symudiad o'r pwys mwyaf i symud hen ragfarnau y genedl.

Yr ydym eisioes wedi sylwi fod y menywaid i gyd yn y llofft ar adeg y gwasanaeth, a'r gwrrywaid i gyd i lawr. Y gwrrywaid hefyd, fel y crybwyllwyd o'r blaen, yw y gynulleidfa. Y mae dau beth yn ngwedd allanol y gynulleidfa, yn wahanol i gynulleidfaoedd Cristionogol. Un yw, y maent oll yn gwisgo eu hetiau. Yn hyn y mae y Crynwyr yn debyg iddynt. Nid yn unig y maent yn gwisgo eu hetiau eu hunain, ond ni chaniatant i ymwelwyr eu tynu. Hefyd, y maent yn gwisgo math o

ystola *(scarf)* o'r un defnydd a gwneuthuriad a'r *Arbang Canphoth*, a eglurwyd yn y rhan gyntaf. Yr enw a roir iddo yw *Talith*, ac y mae yn amrywio mewn maint a gwerth, yn ol amgylchiadau y gwisgwr. Y mae Iuddewon cyfoethog yn fynych yn ei addurno âg arian ac aur, ac, weithiau, â gemau gwerthfawr. Ond y mae ei werth, mewn ystyr grefyddol, yn dybynu ar y *titsith*, yr un fath yn gymhwys a'r *Arbang Canphoth*.

Ar ol hyn o rag-grybwyllion, deuwn yn awr i sylwi ar y gwasanaeth; ac er mwyn ei egluro mewn trefn, nyni a'i rhanwn i wasanaeth wythnosol a Sabbothol.

1. Y gwasanaeth wythnosol. Y mae hwn i'w gynal dair gwaith bob dydd—yn y bore, yn y prydnawn, ac yn yr hwyr.

(1.) Y mae gwasanaeth y bore yn dechreu yn misoedd yr haf, am saith o'r gloch. Ar ol i'r Iuddew ymbarotoi, fel yr eglurwyd yn y rhan flaenaf, ei ddyledswydd yw prysuro mewn pryd tua'r Synagog. Y mae y rhai mwyaf ymlynedig wrth y traddodiadau yn cusanu ystlysbost y drws wrth fyned i mewn, neu ynte yn rhoddi y llaw arno, ac wedi hyny yn cusanu hono. Ar ol cyrhaedd yr eisteddle, y mae yn gwisgo ei Dalith, gan ddywedyd, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiodd ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i ymwisgo yn y rhidens." Gwed'yn gwisga y *Tephilin*, fel yr eglurwyd o'i blaen. Yna y mae yn barod i ymuno â'r gynulleidfa. Y mae y gwasanaeth yn gynwysedig mewn dwy brif ran. Y gyntaf yw y *Ceriath Shemang:* y mae hon yn cynwys y rhanau canlynol o'r ddeddf, Deut. vi. 4—9, a ix. 13—21, a Num. xv. 37—41. Y llall yw *Shemonah Ngesrah*, hyny yw, deunaw gweddi. Mewn gwirionedd y maent yn cynwys pedair-ar-bymtheg o weddiau. Y traddodiad Iuddewig yn eu cylch yw hyn,—fod deunaw mewn arferiad er amser y Synagog Fawr, yn nyddiau y Prophwydi olaf; ac i Rabbi Gamaliel, ychydig cyn dinystr Jerusalem, chwanegu un arall yn erbyn y Cristionogion. Byddai yn rhy faith i ni gyfieithu y gweddiau hyn —yn unig rhoddwn y weddi chwanegol a enwyd, yr hon sydd yn sefyll yn ddeuddegfed yn ol eu trefniad presenol. Dyma hi—"Na fydded gobaith i'r rhai sydd yn gwrthgilio oddi wrth y wir grefydd; a bydded i'r her-

eticiaid, pa faint bynag fyddo eu nifer, gael eu dinystrio megys mewn moment. A bydded i deyrnas balchder gael ei dadwreiddio a'i dryllio yn fuan, ïe yn ein dyddiau ni. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, yr hwn wyt yn dinystrio y drygionus, ac yn darostwng y balch." Yr hereticiaid oedd y Cristionogion; ond y deyrnas balchder oedd amherodraeth Rhufain. Y mae yn ddiau fod y gweddiau yma yn bur hen; ond nid cyn hyned ag y myn y traddodiad iddynt fod; canys y mae amryw o honynt yn cyfeirio yn lled amlwg at ddinystr Jerusalem a'r ysgariad. Ond i ddychwelyd. Y mae amryw o weddiau, &c., ereill yn y gwasanaeth boreol, wedi eu cyfleu yn mysg y gweddiau hyn; ond y *Ceriath Shemang* a'r *Shemonah Ngesrah* yw y prif ranau.

(2.) Gelwir y gwasanaeth prydnawnol yn *Tephilath Minchah*, gweddiau y prydnawn. Ystyr priodol y gair *Minchah* yw rhodd neu offrwm; ond arferir o yn y gwasanaeth Iuddewig i arwyddo prydnawn. Y mae dau *Minchah*, sef *Minchah Gedolah*, y *Minchah Mawr;* hyny yw, o hanner awr wedi deuddeg hyd hanner awr wedi tri; a'r *Minchah Catanah*, y *Minchah Bach;* hyny yw, o hanner awr wedi tri hyd fachludiad haul. Y mae y rhan fwyaf o'r Rabbiniaid yn dal mai dyma yr amser mwyaf priodol i gynal y gwasanaeth prydnawnol; ac mai at hyn y cyfeiria y Salmydd pan y dywed, "Cyfeirier fy ngweddi ger dy fron fel arogldarth, a dyrchafiad fy nwylaw fel yr offrwm prydnawnol," Salm cxl. 1, 2.

Y mae y gwasanaeth prydnawnol yma yn cynwys yr adnod olaf o Salm cxliv, a'r oll o cxlv, yn nghyda y *Shemonah Ngesrah*, a eglurwyd eisioes.

(3.) Y mae y gwasanaeth hwyrol yn gynwysedig o'r *Ceriath Shemang*, a'r *Shemonah Ngesrah*, yn nghyda dwy fendith cyn y *Shemang*, a dwy ar ei hol. Yr amser priodol i adrodd neu ddarllen y gwasanaeth hwyrol, yw o ymddangosiad y ser hyd ddeuddeg o'r gloch. Ond rhag beichio gormod ar y cyfundeb, unir gwasanaeth y prydnawn a'r hwyr yn un gwasanaeth. Dechreuir o trwy y flwyddyn ar awr gyfleus, i'r hanner blaenaf gael ei gynal cyn, a'r rhan olaf wedi machlud haul. Ond y mae y rhai mwyaf manwl yn adrodd y gwasanaeth hwyrol yn hwyrach nag adeg y Synagog.

Y mae y Synagog fel hyn yn agored ddwywaith bob

dydd; ond gan nad all y bobl fyned yno a chyflawni eu dyledswyddau tymorol, caniateir iddynt adrodd y gweddiau gartref, ar yr awr fo'n gyfleus. Ychydig iawn sydd yn myned i'r Synagog. Rhaid, ar yr un pryd, fod yno ddeg; canys, fel y nodwyd eisioes, nid ellir darllen y gweddiau oddi eithr yn bersonol, heb fod deg yn y lle. Ond rhwng y swyddogion sydd yn rhwym o fod yno, a'r tlodion fo yn byw ar elusenau y gynulleidfa, y mae digon bob amser i gadw y gwasanaeth. Ac yn awr, oddi wrth yr hyn a adroddwyd, fe wel y darllenydd, y dylai yr Iuddew, yn ol ei grefydd, adrodd y *Ceriath Shemang* ddwywaith bob dydd, nos a bore, yn ol y gorchymyn, Deut. vi. 7, a xi. 19; a'r *Shemonah Ngesrah* dair gwaith yn y dydd, sef hwyr, bore, a phrydnawn, fel y gwnai y Salmydd meddant, "Hwyr, a bore, a hanner dydd y gweddiaf," Salm lv. 17. Dyma y gweddiau a arferir yn y gwasanaeth ar ddyddiau'r wythnos; ond ar y Sabbath, y Newydd Loer, a dyddiau Gwyl, y mae ganddynt rai ereill hefyd. Gelwir y rhei'ny yn *Mwsaph*, h. y. chwanegol; ond rhy faith i'w hadrodd yma.

Heblaw hyn, y mae dydd Llun a dydd Iau yn ddyddiau penodol. Ar ddydd Iau, meddant, yr aeth Moses i'r mynydd i dderbyn y gyfraith yr ail waith, ac i heddychu y bobl a'u Gwneuthurwr ar ol addoliad y llo aur; ac ar ddydd Llun y dychwelodd atynt. Am hyny chwanegir gweddi arall at y gwasanaeth y dyddiau hyn, a elwir ganddynt yn weddi edifeiriol. Heblaw hyn, darllenir cyfran o'r gyfraith ar y dyddiau yma—sef cyfran o'r wers fo i'w darllen ar y Sabbath canlynol. Ar gyfrif hyny gelwir dydd Llun a dydd Iau wrth yr enwad *Ceriath Torah*, h. y. darlleniad y gyfraith. Y dull o'i darllen sy fel hyn—rhenir y cyfran yn dair rhan: a gelwir *Cohen*, (h. y. un a ystyrir ganddynt o deulu Aaron,) at y darllenwr, i sefyll wrth ei ochr tra bo yn darllen y rhan gyntaf. Yna gelwir *Lefiad*, (neu un o deulu Lefi,) i wrando yr ail ran; ac yna *Israel* (h. y. Iuddew na fo o lwyth Lefi) i wrando y drydedd. Y mae y rhai sydd yn cadw traddodiadau eu crefydd yn fanwl yn ymprydio ar y dyddiau hyn.

2. Y gwasanaeth Sabbathol.

Dylem grybwyll yma fod y Sabbath Iuddewig yn

dechreu nos Wener, fel y cawn egluro eto wrth draethu ar y Sabbath, ac yn para hyd fachludiad haul ddydd Sadwrn. Felly y gwasanaeth cyntaf sy ganddynt yw yr un ar nos Wener. Y mae yn debyg i'r gwasanaeth ar hwyrau ereill, oddi eithr fod y rhan olaf yn cael ei gymhwyso i dderbyn y Sabbath i mewn.

Bore dranoeth, y mae y gwasanaeth yn dechreu tuag wyth o'r gloch, yn misoedd yr haf, ac hanner awr wedi wyth yn misoedd y gauaf. Ar ol darllen y gweddiau arferol, yn nghyda rhai penodol i fore y Sabbath, parotoir at ddarllen y gyfraith, neu bum llyfr Moses. Yn nglyn â hyn y mae amryw o ragorfreintiau neu weithredoedd o anrhydedd, y dylem eu hegluro. Ac yn

(1.) Yr *Hotsah fe Hachnasah*, hyny yw, Cymeryd allan a dychwelyd y gyfraith. Y mae y person a enwir i wneyd hyn yn myned at yr arch gyda y darllenydd, ac yn ymaflyd yn rhol y gyfraith, ac yn ei chario yn ei freichau i'r ddarllenfa; ac eilwaith yn ei dychwelyd yr un modd yn yr amser priodol. Dyma yr anrhydedd mwyaf a ellir ei roddi i unrhyw un o'r aelodau.

(2.) Yr *Hagbah;* sef y sawl sydd i dderchafu y gyfraith, a'i dal i fyny i'r gynulleidfa ei gweled.

(3.) Y *Gelilah*, neu y person sydd i roi rhwymyn neu wisg y gyfraith am dani cyn ei dychwelyd i'r arch.

(4.) Y *Sagan*, neu y sawl sydd i gyfarwyddo y darllenydd. Y mae ganddo law fechan o arian yn ei law ei hun, ac â hono y mae yn arwain (pe bae yn arwain hefyd) y darllenydd ar hyd y geiriau a'r llinellau sydd iddo fyned.

(5.) Y *Shifnger*—neu saith a nodir i ddarllen y gyfraith iddynt. Yma rhaid i'r darllenydd sylwi fod pum llyfr Moses wedi eu dosparthu i 52 *Sederah*, neu ran; a darllenir un o'r rhai'n bob Sabbath. Rhenir bob *Sederah* drachefn i saith *Pershah*, adran neu bennod. Pan bo y *Chazan* yn darllen y pennodau hyn, gelwir ar saith o bersonau, yn eu tro, i sefyll yn ymyl y darllenydd tra y byddo yn darllen un bennod—yna yr ail berson, ac felly hyd yr olaf.

(6.) Y *Maphtir*, neu ddarllenydd y Prophwydi. Dywedir i Antiochus Epiphanes, yn ei greulonderau at yr Iuddewon, wahardd darlleniad y gyfraith; ac iddynt hwythau, yn y cyfamser, ddethol 52 o ranau o'r Proph-

wydi, a'u darllen yn lle y gyfraith. Ar ol adferyd eu rhyddid, dan y Maccabeaid, dechreusant drachefn ar ddarllen y gyfraith; ond parhawyd i ddarllen y prophwydi hefyd. Felly ar ol gorphen darllen y *Sederah* priodol o'r gyfraith, darllenir y gyfran benodedig o'r prophwydi, yr hon a elwir *Haphtorah*, neu ddiweddiad; a'r person a nodir i wneyd hyny, a elwir yn *Maphtir*.

(7.) *Pethichah*, neu y sawl fo i agor yr arch i'r gyfraith gael ei chymeryd allan; a chau yr arch ar ol i'r gyfraith gael ei rhoddi mewn.

Yn awr, rhag i'r darllenydd gamddeall y swyddau uchod, neu *Mitsfath*, fel y gelwir hwynt, efallai y dylem chwanegu ychydig o grybwyllion.

*Yn gyntaf*—Nid ydyw y swyddwr yn cael y fraint yn barhaus, ond yn unig am y tro hwnw.

*Yn ail*—Nid oes neb ond aelod cyflawn yn cael ei nodi i unrhyw un o'r swyddau—a rhaid i hwnw fod yn un a ystyrir yn aelod parchus. Yma dylem sylwi, fod math o hawliau yn bod i'r bumed swydd. Y personau sydd o fewn cylch yr hawl yma yw y rhai'n:—1. Cohen, neu un o'r rhai (fel y nodwyd eisoes) a ystyrir yn perthyn i deulu Aaron. 2. Lefi, neu un a ystyrir yn perthyn i lwyth Lefi. 3. Meibion aelodau pan y cyrhaeddont 13 oed. 4. Gŵr wrth dalu diolchgarwch ar ol genedigaeth plentyn. 5. Pob person ar ol cadw gwyl marwolaeth ei riant, neu wrth dalu diolch am waredigaeth neu gadwraeth ar dir neu fôr. 6. Dyn ieuanc ar y Sabbath cyn ac ar ol ei briodas; ond os gweddw fydd, nid oes rhwymau ond ar y Sabbath ar ol y briodas. Y mae y pedwâr dosparth olaf nid yn unig â hawl ganddynt i'r anrhydedd, ond hefyd y maent dan rwymau i geisio y fraint dan berygl dirwyad. Sylwed y darllenydd hefyd, mai gan y swyddogion llywodraethol, yn ol eu sefyllfa, y mae yr hawl o weini y pedwarydd swydd.

*Yn drydydd*—Gan mai swyddau anrhydeddus ydynt, rhaid talu am eu cyflawni. Y dull cyffredin o wneyd hyny ydyw, rhoddi y naill swydd i fyny ar ol y llall mewn dull o arwerthiad, a'r cynygiwr uchaf a gaiff y swydd. Y mae swydd yn myn'd ar droion mewn rhai Synagogau bychain am mor lleied a swllt: pan, ar adegau, mewn ambell Synagog, y mae yn cyrhaedd hanner can punt. Mewn rhai Synagogau y mae pris pen-

odol wedi ei roddi ar bob swydd, fel na bo yr arwerthiad yn myned yn mlaen yn oriau yr addoliad. Yn un o Synagogau Llundain y maent wedi bwrw ymaith y naill drefn a'r llall—nid oes dim talu. Er mwyn boddio cywreinrwydd ein darllenydd, rhoddwn daflen o'r taliadau a wneir yn un o Synagogau y ddinas hon. Nid un o'r Synagogau mwyaf a chyfoethocaf ydyw, nac ychwaith un o'r rhai lleiaf, ond y mae yn sefyll megys yn y canol. Fel y canlyn y mae y costau ar y Sabbath; ond ar ddyddiau gwyl y maent yn fwy.



| | | s. | c. |
|---|---|---|---|
| *Hotsah fe Hachnasah* | . . | 7 | 0 |
| *Hagbah* | . . . . . | 5 | 0 |
| *Gelilah* | . . . . . . | 5 | 0 |
| *Shifnger* | . . . bob un | 2 | 6 |
| *Muphtir* | . . . . . . | 2 | 6 |
| *Pethichah* | . . . . . | 2 | 6 |

Yn awr, ar ol gorphen y gweddiau cyffredin, enwir y sawl sydd i gario y ddeddf; yna y mae y darllenydd ac yntau yn myned at yr arch. Tra bo yr agorwr yn symud y llen oddi ar wyneb yr arch, dywed y gynulleidfa, "A hefyd pan gychwynai yr arch, Moses a ddywedai, Cyfod Arglwydd, a gwasgarer dy elynion: a ffoed dy gaseion o'th flaen: canys y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." Wrth gymeryd y rhol allan, dywedir, "Bendigedig yw yr hwn a roddodd y gyfraith i'w bobl Israel yn ei phurdeb." Y mae y darllenydd a'r gynulleidfa yn adrodd rhai gweddiau ereill, tra bo y gyfraith yn cael ei chario ar ochr ogleddol y Synagog i'r ddarllenfa. Ar ol rhoddi y rhol ar y ddarllenfa, dywed y darllenydd fel hyn—"Bydded i'w deyrnas gael ei dadguddio a'i gwneyd i ni yn amlwg yn fuan, a bydded Efe yn rasol i weddill ei bobl, tŷ Israel, ac i ganiatau iddynt allu, llad, trugaredd, a derbyniad; a dywedwn, Amen. Rhoddwch oll ras i Dduw, a pharch tyner i'r gyfraith."

Ar ol un fendith arall, yn nghydag atebiad gan y gynulleidfa, gelwir ar y *Cohen*, fel y soniwyd, i ddyfod at ddarlleniad y gyfraith. Ar ol cyraedd y ddarllenfa, cyn i'r *Chazan* ddechreu darllen, dywed, "Bendithiwch yr Arglwydd, yr hwn sydd yn fendigedig bob amser." Etyb y gynulleidfa, "Bendigedig fyddo yr Arglwydd, yr hwn

sydd yn fendigedig yn oes oesoedd." Dywed y *Cohen* yn mhellach, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y Greadigaeth, yr hwn a'n dewisaist ni oddi wrth bob cenedl, ac a roddaist i ni dy gyfraith. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, rhoddwr y gyfraith." Ar ol i'r *Chazan* orphen darllen y gyfran sydd i'r *Cohen*, dywed yr olaf fel hyn—" Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y Greadigaeth, yr hwn a roddodd i ni gyfraith gwirionedd, ac a blanodd fywyd tragwyddol yn ein plith. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, rhoddwr y gyfraith." Gelwir, fel hyn, ar y saith yn eu tro, ac adroddant oll yr un bendithion. Ond os bydd rhyw un o honynt wedi cael adferiad iechyd, neu waredigaeth, neu ynte wedi cael ei gadw ar fordaith, dywed fel hyn—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y Greadigaeth, yr hwn wyt yn caniatau gras a daioni i'r anhaeddiannol, canys caniateaist bob daioni i mi." Yna etyb y gynulleidfa, "Efe, yr hwn a ganiataodd bob daioni i ti, a ganiata bob daioni i ti yn dragywydd."

Cyn i'r person ymadael o'r ddarllenfa, cyflwyna y darllenydd *Mi Sheberach*, neu fendith am yr offrwm a wnaeth. Gall aelodau na fo yn mwynhau yr anrhydedd o gael y *Mitsfoth*, gael *Mi Sheberach*. Math o weddi ydyw ar ran y personau a enwir wrth y darllenydd gan y person fo yn offrymu. Y mae yn eu henwi yn nghlust y darllenydd ar y pryd; ac y mae yntau yn eu henwi ar goedd yn y weddi, neu fendith. Y mae yr arian a offrymir fel hyn yn myned at gyllid y Synagog. Y mae yr offrymau yn amrywio yn ol amgylchiadau a chyfoeth yr offrymwr. Weithiau nid ydynt ond ychydig o sylltau; ond prydiau ereill y maent yn cyrhaedd llawer o bunnoedd. Fel hyn y mae y weddi—" Efe yr hwn a fendithiodd ein tadau Abraham, ac Isaac, a Jacob, a fendithia A. mab B. am iddo offrymu hyn a hyn i'r tlawd, hyn a hyn i'r afiach, a hyn a hyn at gladdu, fel bo byw (yna enwir y rhai fo yr offrymwr wedi enwi wrth y darllenydd), ac fel bo byw yr holl gynulleidfa: anfoned fendith a llwyddiant ar holl lafur ei ddwylaw, yn nghyda holl blant Israel ei frodyr, a dywedwch Amen."

Yn nesaf darllenir y gyfran benodedig o'r Prophwydi, fel y soniwyd; a phan y deuir i godi y ddeddf i'r gynull-

eidfa ei gweled, dywedant fel hyn—"Dyma y ddeddf a roddodd Moses i feibion Israel, trwy orchymyn yr Arglwydd, trwy law Moses. Pren y bywyd ydyw i'r rhai a ymaflant ynddi, dedwydd yw y rhai a'i ceidw. Ei ffyrdd sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau ydynt heddwch. Hir hoedl sydd yn ei llaw ddeau; ac yn ei llaw aswy y mae cyfoeth a gogoniant. Yr Arglwydd sydd foddlawn er mwyn ei gyfiawnder, efe a fawrha y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus."

Dychwelir y gyfraith o'r ddarllenfa tua'r arch ar hyd ochr ddeheuol y Synagog, pryd y dywed y darllenydd, "Bendithiwch enw yr Arglwydd! canys ei enw Ef yn unig a ddyrchefir." Tra bo y rhol fel hyn yn cael ei chario tua'r arch, dywedir rhai bendithion ereill, yn nghyda Salm xxiv. Wrth roddi y rhol yn yr arch, dywedir, "A phan orphwysai yr arch, y dywedai efe, Dychwel, Arglwydd, at fyrddiwn miloedd Israel. Dychwel, Arglwydd, i'th orphwysfa, ti ac arch dy gadernyd. Gwisged dy offeiriaid gyfiawnder; a gorfoledded dy holl saint. Er mwyn dy was Dafydd, na thro dy wyneb oddi wrth dy eneiniog. Canys yr wyf yn rhoddi i chwi addysg dda; na wrthodwch fy nghyfraith. Pren y bywyd ydyw i'r rhai a ymaflant ynddi; a dedwydd ydyw y rhai a'i ceidw. Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch."

Ar ol hyn adroddir amryw o weddiau, ac yn eu plith un dros y frenines a'r teulu breninol, ond rhy faith i'w cofnodi yma. Y maent yn cynwys erfyniadau am i'r Arglwydd eu gwaredu o gaethiwed, a'u dychwelyd i wlad Canaan, hoff wlad eu tadau. Yna y mae y gwasanaeth ar ben.

Y mae y gwasanaeth prydnawnol yn dechreu am ddau o'r gloch. Y mae yn lled debyg i wasanaeth prydnawnol dyddiau yr wythnos; oddi eithr hyn o chwanegiad, fod un bennod o wers y Sabbath dyfodol i gael ei darllen i dri, yn y dull a nodwyd am fore dydd Llun a dydd Iau.

Y mae gwasanaeth hwyrol y Sabbath yn dechreu yn ol fel bo yr haul yn machludo, ac felly yn gynt yn y gauaf na'r haf. Nid oes dim gwahaniaeth rhyngddo a'r gwasanaeth ar ddiwrnod arall, oddi eithr chwanegiad rhai Salmau a gweddiau.

IV. Cerddoriaeth y Synagog. Yr ydym wedi crybwyll eisioes fod y cantorion yn sefyll i ganu yn y ddarllenfa, ond heb wneuthur unrhyw sylw ar y gerddoriaeth. Y mae cerddoriaeth Iuddewig yn beth mor eang a dyrys, fel mai ofer fyddai i ni geisio ei drafod yn y lle hwn—ac yn neillduol gan ein bod yn bwriadu, os cawn einioes am ychydig amser yn mhellach, egluro y pwnc yn ei gysylltiad â'r Beibl; yn unig dywedwn air neu ddau.

Peth wedi ei ddwyn i mewn yn ddiweddar i'r Synagog ydyw côr o gantorion—ac nid yw yr holl Synagogau yn Llundain eto wedi ei fabwysiadu. Nid yw y tonau a ddefnyddir ychwaith, yn hen, nac o darddiad Iuddewig; ond yn benaf wedi eu cymeryd oddi wrth gyfansoddwyr Cenedlig, ac ambell un o'u gwaith eu hunain. Ar achlysuron penodol cenir hen alawon Iuddewig, fel y cawn nodi wrth fyned yn mlaen; ond yn y gwasanaeth wythnosol a chyffredin, nid oes dim neillduol Iuddewig yn y gerddoriaeth.

Dylai ein darllenydd sylwi yma, fod holl wasanaeth y Synagog yn cael ei adrodd neu ddarllen mewn tonyddiaeth nad anmhriodol, efallai, fyddai ei alw yn ganu. Nid yw y donyddiaeth yma yn ol deddfau mydraeth: ar yr un pryd y mae yn cynwys elfenau cerdd, ac y mae rhanau o honi yn bur effeithiol.

V. Y mae yn angenrheidiol i ni ddweyd ychydig yn nesaf yn nghylch aelodaeth y Synagog.

Dosberthir y gynulleidfa i dri math; fel hyn—yn

*Gyntaf*, Bangalai Batim, sef aelodau breintiedig. Y mae gan y rhai'n hawl i ragorfreintiau y Synagog, fel y cawn weled rhag llaw. Yn

*Ail*, Toshafin, sef aelod cyffredinol y gynulleidfa, ond heb feddu hawl i ragorfreintiau neillduol y Synagog. Yr hyn sydd yn cyfansoddi yr aelodaeth yma ydyw talu am eisteddle yn y Synagog. Y mae pob un a dalo felly am flwyddyn ac uchod, yn cael ei ystyried yn aelod o'r gynulleidfa. Yn

*Drydydd*, Orachsin, neu ddyeithriaid. Felly yr ystyrir pawb nad yw yn talu am eisteddle yn y Synagog.

Yn awr, nid yw yn angenrheidiol i ni ymhelaethu ar y dospeirth uchod, oddi eithr yn unig ar y cyntaf. Ac yn y lle blaenaf, nyni a nodwn ychydig o ragorfreintiau y cyfryw aelod.

Gellir ei ddewis yn Warchawdwr, neu yn aelod mygedawg y Festri, er na fu o'r blaen mewn unrhyw swydd. Gellir ei ddewis, os bydd yn meddu cymhwysderau angenrheidiol, i unrhyw swydd y telir cyflog am dani, oddi eithr y Prif Rabbi. Y mae ganddo hawl i lais yn newisiad swyddogion y Synagog, os bydd yn talu dwy gini a hanner yn flynyddol am eisteddle. Y mae ganddo hawl i weithredu fel *Sagan* ar briodas neu *Bar Mitsfab* unrhyw un o'i blant, oddi eithr ar wyl neu Sabbath. Y mae ganddo hawl hefyd i gael ei gladdu yn y lle hyny yn y fonwent a nodir i aelodau; ac y mae y fraint hon yn perthyn hefyd i'w weddw a'i blant dibriod. Ond yma dylid sylwi, y gall aelod cyffredin gael ei gladdu yn y rhan hyny o'r fonwent trwy dalu chwe gini, os bydd ei nodweddiad yn gymeradwy yn ngolwg y *Parnasim*. Y mae y ddau *Chazan* a'r *Shamas* dan rwymau i fod yn bresenol yn mhob enwaediad ac angladd fo yn nheulu yr aelod. Y mae ganddo ragorfreintiau ereill nad yw, efallai, o werth i ni geisio eu hegluro yma.

Gadewch i ni nodi eto am funyd y dull y gwneir aelodau o'r gynulleidfa yn *Bangal Beith*, neu aelod breintiedig. Pan bo unrhyw un yn dymuno hyny, rhaid iddo anfon ei gais mewn ysgrif at y Cyfeisteddfod, a'i enw priodol yn nglŷn âg ef. Rhoddir y cais i lawr ger bron y cyfarfod, a phenderfynir o yn y cyfarfod nesaf trwy goelbren. Os bydd y mwyafiant yn ei ddewis, hysbysir ef o hyny, a rhaid iddo, yn ystod y mis dyfodol, dalu deg gini, yn nghyda phob dyledion i'r Synagog a ddichon fod arno. Rhaid iddo dalu hefyd y swm a nodir gan y cyfeisteddfod am ei blant dibriod, er mwyn iddynt hwythau gael rhagorfreintiau yr aelodaeth.

Gall mab dibriod gael aelodaeth, yn yr un dull, os bydd dros un ar hugain oed.

Pan bo mab unrhyw aelod yn priodi, ni chyst ei aelodaeth ond dau gini; ond rhaid i hyny gymeryd lle cyn pen y deuddeg mis ar ol priodi; yn niffyg hyny dirwyir ef o ddau gini; ac os gohirir dros y ddwy flynedd, dirwyir ef o ddau gini yn chwaneg; ond os gohirir dros dair blynedd, y mae yn colli pob hawl a berthynai iddo, a rhaid ei dderbyn fel un dyeithr. Y mae yr un rheol yn perthyn i un a brioda ferch aelod.

Os bydd y tad, neu dad-yn-nghyfraith, fel bo yn dygwydd, mewn dyled i'r Synagog, rhaid iddo dalu y cyfryw, ond nid uwchlaw deg gini. Y mae hyn, pa fodd bynag, yn agored i farn y cyfeisteddfod ar y pryd.

Y mae ychydig o reolau yn mhellach yn perthyn i weddwon a merched aelodau, nad yw o bwys i ni eu hadrodd—y maent oll, pa fodd bynag, ar yr un egwyddor.

Ar ol i'r person gael ei dderbyn yn aelod, rhaid iddo roddi ei enw wrth lyfr rheolau y Synagog; a rhoddir ei enw, gan yr Ysgrifenydd, yn llyfr cyffredin yr enwau; am ba un rhaid iddo dalu hanner coron. Dysgwylir iddo dalu yr holl dalion fu yn disgyn arno o flwyddyn i flwyddyn; ond os bydd rhagluniaeth yn gwgu arno, ac yntau yn methu, rhaid iddo hysbysu hyny i'r cyfeisteddfod, pryd y caniateir ei holl freintiau iddo yn ddidal. Pe gwenai rhagluniaeth arno drachefn, gorfyddai iddo dalu fel ar y cyntaf. Os gadawa unrhyw aelod i'w ddyledion redeg dros bum mlynedd, anfonir rhybudd gan yr Ysgrifenydd; ac yn niffyg eu talu yn ddioedi, torir ef o fod yn aelod. Nid yw y diarddeliad yn ei ryddhau oddi wrth y ddyled; ond rhaid eu talu cyn y cleddir ef, os bydd y cyfeisteddfod yn barnu fod ei deulu yn alluog.

Cyn ymadael â'r pwnc dan sylw, efallai y dylem wneyd sylw neu ddau yn mhellach ar reolau yr aelodaeth.

Os bydd unrhyw aelod yn euog o droseddu rhyw reol, rhybuddir ef i ymddangos o flaen y cyfeisteddfod i ateb drosto ei hun; ac ar ol ymddyddan yr hyn fo yn angenrheidiol ar y pwnc, dirwyir ef yn ol barn y cyfarfod, yn niffyg fod dirwyad wedi ei benodi yn y rheolau am y bai. Ymddygir yr un modd at unrhyw aelod fo yn anufudd i, neu yn anfoneddigaidd tuag at unrhyw un o'r swyddogion llywodraethol. Y mae gan aelod hawl, os tybia fod swyddog yn ymddwyn yn annheg tuag ato, i alw y cyfryw swyddog i gyfrif gerbron y cyfeisteddfod, a dirwyir ef yn ol haeddiant y trosedd; ond os bernir fod y cyhuddiad yn ddisail, gall y cyfeisteddfod ddirwyo y cyhuddwr.

Cyn i unrhyw aelod gael ei ddifreintio, rhaid galw cyfarfod o'r holl Festri, yn nghyda phump ar hugain o aelodau fo yn talu dau gini ac uchod yn flynyddol am

eu heisteddle; ac yn niffyg i bymtheg o'r Festri a deunaw o aelodau fod yn bresenol, nid ellir gweithredu. Rhaid i'r rhybudd i gynull y cyfarfod gynwys hysbysiad beth fyddo yr amcan; a rhaid anfon rhybudd at y person ei hun. Fe fydd gan y cyfarfod hawl i benderfynu a fydd y trosedd yn galw am ddiarddeliad y teulu hefyd ai peidio. Rhaid i bob penderfyniad gael ei wneyd gan dair rhan o bedair o'r gwyddfodolion cyn y bydd yn safadwy.

VI. Cyn gorphen â'r Synagog, dylem ddweyd gair neu ddau o barth ei chyllid.

Gellir rhanu ei derbyniadau i bedwar math—eisteddleoedd, *Mitsfoth*, *Mi Sheberach*, a rhoddion gwirfoddol. Yr ydym eisioes wedi egluro *Mitsfoth* a *Mi Sheberach*, yn nghyda rhyw amcan o'r hyn a dderbynir oddi wrthynt. Gan hyny, nid oes eisiau i ni grybwyll yma ond am y ddau arall.

Y mae ardrethiad yr eisteddleoedd yn nwylaw y cyfeisteddfod; a chymhwysir yr ardreth yn ol sefyllfaoedd yr eisteddleoedd, fel y soniwyd yn barod: ond gan y Trysorydd y mae'r hawl o'u gosod. Rhaid i bob gwrryw, o ddeunaw oed ac uchod, dalu am eisteddfa, os bydd yn perthyn i'r gynulleidfa; ond gall plant dibriod aelodau fo dan ofal eu rhieni gael eisteddleoedd dan y pris rheolaidd. Rhaid i bob gŵr priod fo yn talu gini a hanner, neu chwaneg, yn y flwyddyn, am ei eisteddle, dalu o leiaf hanner gini am un i'w wraig; ond os bydd yn talu tri gini neu uchod am yr eiddo ei hun, rhaid iddo dalu am un fo yn gini iddi hithau. A rhaid talu am danynt yn mlaen llaw, bob hanner blwyddyn.

Pris yr eisteddleoedd yn gyffredin yw o un gini hyd chwech. Os bydd gwaelod y Synagog yn cynwys wyth gant o eisteddleoedd, fe dderbynir o leiaf 2500 o bunnoedd oddi wrthynt yn flynyddol. Ac os chwanegir eisteddleoedd y menywaid at hyn, gwneir cyfanswm blynyddol o yn agos i dair mil o bunnoedd.

O barth i'r rhoddion gwirfoddol, y maent yn dibynu ar amgylchiadau ac haelfrydedd y rhoddwr, yn nghyda'r amcanion fo i'r cyfryw roddion. Nid ellir gwneyd unrhyw amcan-gyfrif pa faint y mae pob aelod yn rhoi; ond gellir sicrhau fod rhai yn bur haelionus.

Heblaw y taliadau a enwyd yn barod, y mae rhai

ereill yn perthyn i'r Synagog, fel y cawn sylwi wrth fyned yn mlaen. Erbyn rhoddi y cwbl yn nghyd, y maent yn gwneyd cyfanswm lled helaeth. Y mae y gwrryw tlotaf o ddeunaw oed ac uchod, fo yn perthyn i'r gynulleidfa, pa un bynag a fyddo yn aelod ai peidio, yn talu o 30 swllt i ddwy bunt yn y flwyddyn at gynaliaeth yr achos. Felly os bydd amryw o wrrywaid yn perthyn i'r un teulu, y mae y cyfanswm yn fawr i deulu cyffredin neu dlawd.

## PENNOD III.—Y Cyfundeb Angladdol.

### Y GYMDEITHAS GLADDU—Y FONWENT.

Y mae y ddyledswydd a berthyn i gladdu y marw, ac edrych ar ol y fonwent, yn perthyn i gyfundeb pwrpasol, ar wahan i'r Synagog, ond yn cael ei gwneyd i fyny o aelodau y Synagog, ac, mewn ystyr, yn dibynu yn hollol arni. A'n hamcan yn y bennod hon fydd egluro, yn fyr, yr hyn a berthyn i'r cyfundeb angladdol.

Yr ydym wedi adrodd y *defodau* a gedwir wrth gladdu yn y rhan gyntaf, fel nad oes eisiau i ni eu crybwyll yma.

I. Y mae monwent yn perthyn i bob Synagog; ac yn y fonwent hòno y mae aelodau a chynulleidfa pob un yn cael eu claddu. I ddwyn hyn yn mlaen yn rheolaidd, y mae dwy Gymdeithas Gladdu yn perthyn i bob Synagog —un i'r gwrrywaid, a'r llall i'r menywaid. Etholir aelodau y gymdeithas yma gan gyfeisteddfod y Synagog; a charir hi yn mlaen gan y swyddogion canlynol:—

1. *Parnas*, Gwarchawdwr. Y sawl fo yn y swydd hon yn y Synagog sydd i weithredu ar y pryd i'r gymdeithas gladdu. Mewn gwirionedd, swyddog y Synagog ydyw, canys ni etholir ef mewn cysylltiad â'r gymdeithas hon; ond y mae yn ben ar hon trwy rinwedd ei swydd yn y Synagog. Nid all un angladd gymeryd lle heb ei ganiatad ef.

2. Dau Arolygwr. Etholir y rhai'n i'w swydd gan Gyfeisteddfod y Synagog, ac i bara yn eu swydd am ddwy flynedd. Eu dyledswydd hwy yw arolygu yr angladdau, ac edrych fod y fonwent yn cael ei chadw

mewn trefn; ac hefyd dalu pob traul mewn cysylltiad â'r gymdeithas.

3. *Rabbi.* Cyflawnir y gwasanaeth angladdol gan swyddwr dewisedig yn unig i hyny. Gelwir ef yn *Rabbi y gymdeithas gladdu.* Etholir ef i'w swydd gan aelodau y gynulleidfa, yn yr un dull ag yr etholir swyddogion y Synagog. Rhaid iddo fod yn ddysgedig mewn pethau Iuddewig.

Y mae yn ddyledswydd arno ef ymwèled â'r cleifion, pan anfonir am dano; ac os bydd y claf yn agos i angau, rhaid i'r Rabbi aros nes iddo dynu yr anadl olaf. Rhaid iddo wedi'n arolygu y seremonïau a gyflawnir ar y marw, fel na bo dim yn cael ei esgeuluso na'i wneyd yn groes i ddeddfau ac arferion Iuddewig. Hefyd, y mae pob beddfaen i gael ei darllen a'i chymeradwyo ganddo cyn y gellir ei chodi yn y fonwent.

4. *Shamas.* Dewisir person cymhwys i'r swydd yma yn yr un dull ag y dewisir y Rabbi. Gwaith y *Shamas* yw dewis personau cymhwys i wylio y claf—i olchi y marw—gofalu fod y bedd yn cael ei gloddio—gofalu fod yr arch a'r cerbydau, &c., yn barod i'r angladd. Os bydd y marw yn blentyn dan fis oed, rhaid i'r *Shamas* ei gario i'r gladdfa. Rhaid iddo aros yno nes bo'r bedd wedi ei gau, er mwyn gweled fod pob peth yn drefnus. Rhaid iddo hefyd fod yn wyddfodol pan fo pob beddfaen yn cael ei gosod yn y fonwent.

5. *Anshei Taharah,* neu wŷr y puredigaeth. Penodir y rhai'n gan y Cyfeisteddfod; a'u gwaith yw golchi y marw (os gwrryw)—bod yn wyddfodol yn mhob angladd, gwrryw a benyw—cario yr arch i'r elorwydd (*hearse*)—ac o'r elorwydd drachefn at y bedd; yn nghyda'r holl wasanaeth o'r un natur fo'n perthyn i'r angladd.

Dewisir y personau i lanw y tair swydd olaf, gan y Cyfeisteddfod, fel y nodwyd; a'r cyfeisteddfod sydd i benderfynu pa gyflog a roddir iddynt.

Y mae y sylwadau uchod yn perthyn yn benaf i gymdeithas y gwrrywaid, er nad oes fawr o wahaniaeth rhwng y ddwy. Y prif wahaniaeth yw hyn—y gwragedd sydd i olchi y marw o'u rhyw eu hunain: hwynt hefyd sydd yn gwneyd yr amdoau i'r ddau ryw. Y mae ganddynt drysoryddes i'w cymdeithas, ar wahan i'r Synagog, pryd mai trysorydd y Synagog yw trysorydd cymdeithas y gwrrywaid.

II. Ar ol hyna o eglurhâd ar y cymdeithasau claddu, nyni a ddeuwn yn nesaf i adrodd ychydig o barth i'r fonwent neu gladdfa.

Fel y crybwyllwyd, y mae monwent yn perthyn i bob Synagog—nid yn nglŷn â hi, neu yn agos ati, ond yn lled bell oddiwrthi. Pan bo darn o dir wedi ei brynu i'r pwrpas hwnw, adeiledir gwal o'i gwmpas, ac aiff swyddogion llywodraethol y Synagog yno i ranu y tir yn resi cyfaddas o ran lled i gloddio bedd ar ei hyd ynddo. Ar ol parotoi y tir fel hyn, cleddir y meirw mewn un rhes, y naill yn ymyl y llall, nes ei llanw, cyn dechreu ar res arall. Ni chleddir ond un corff yn yr un bedd. Gall y gŵr sicrhau y beddrod nesaf at ei wraig iddo ei hun, neu y wraig y nesaf at ei gŵr, os bydd yn dewis; ond ni chaniatair bedd na daeargell teuluaidd i neb. Rhaid i bawb fod ar wahan ac yn unig yn y beddrod.

Rhenir y fonwent hefyd i dir uwch ac is. Symudir rhyw gymaint o'r pridd o un darn i'r darn arall, er mwyn codi hwnw yn uwch. Y tir uchaf yw y mwyaf anrhydeddus, ac yno y cleddir yr aelod, yn nghydag ambell un a bwrcasa y fraint; ond yn y tir isaf y cleddir y gynulleidfa yn gyffredin.

Y mae tŷ annedd o fewn pob monwent, a pherson yn byw yno i gymeryd gofal o honi. Rhaid iddo edrych fod y beddau yn cael eu cloddio at yr hyd a'r dyfnder priodol, cadw cofrestriad o bob claddiad, yn nghyda gofalu fod y cwbl o'i mewn yn drefnus. Gelwir ef yn Geidwad y fonwent. Yn nglŷn âg ef, a than ei ofal, dewisir tri o ddynion ereill, unig orchwyl pa rai yw gwylio y fonwent. Rhaid i ddau o honynt fod yn Iuddewon, a'r llall yn Genedl-ddyn. Rhaid i ddau o honynt wylio bob nos o hanner awr cyn machlud haul hyd chwech o'r gloch y bore yn misoedd yr haf; ond o hanner awr cyn machlud haul hyd saith o'r gloch y bore yn y gauaf. Dewisir y gwylwyr hyn gan y cyfeisteddfod, yr un modd a'r swyddwyr ereill; gan ba rai hefyd y mae yr hawl o nodi swm eu cyflogau.

Y mae pob un deunaw oed ac uchod yn cael ei ystyried yn aelod o'r gymdeithas gladdu, a rhaid iddo dalu chwe swllt yn y flwyddyn tuag ati, ac wyth swllt arall yn flynyddol at gadw y fonwent. Nid yw y gwragedd

yn talu at gadwraeth y gladdfa; ond y maent yn talu tua phum swllt yn flynyddol, yn nghyda rhoddion ereill, at eu cymdeithas eu hunain.

## PENNOD IV.—Y Sabbath.

DECHREUAD Y SABBATH—EI SANTEIDDIAD—EI GADWRAETH.

I. Odid na ŵyr ein holl ddarllenwyr mai ar y seithfed dydd, sef dydd Sadwrn, y mae yr Iuddewon yn cadw eu Sabbath. Ond dylem sylwi yn y fan yma nad ydynt yn dechreu eu dydd yr un amser a ni. Yr ydym ni, Gristionogion, yn dechreu ein Sabbath ddeuddeg o'r gloch nos Sadwrn, ac yn ei derfynu ddeuddeg o'r gloch nos Sul. Ond y mae yr Iuddewon yn dechreu eu Sabbath gyda'r hwyr ddydd Gwener, ac yn ei derfynu yr un amser ddydd Sadwrn. Fel hyn y maent yn cyfrif eu dyddiau o hwyr i hwyr, yn ol yr ymadrodd yn Gen. i. 5. "A'r hwyr a fu, a'r bore a fu, y dydd cyntaf." Pa fodd bynag, nid ydynt byth, pan fo'r dydd hwyaf, yn dechreu y Sabbath yn hwyrach na saith o'r gloch.

II. Am ryw gymaint o amser cyn i'r Sabbath ddechreu, y maent yn gadael eu gorchwylion amryfal i ymbarotoi i'w dderbyn i mewn. Y mae y gwrrywaid yn rhoddi eu gwisgoedd Sabbathol am danynt—yn ymolchi, ac yn ymlanhau oddi wrth eu barfau. Yma dylem grybwyll nad yw yn gyfreithlawn iddynt ddefnyddio ellyn, yn ol yr esboniad a roddant ar Lef. xix. 27 a xxi. 5; ond defnyddir amryw foddion yn lle yr ellyn, yn neillduol math o enaint drwg aroglaidd, sydd, nid yn unig yn difa y farf, ond y croen hefyd, os na chymerir y gofal mwyaf ato. Ar ol ymbarotoi fel hyn, ac iddi fod yn bryd, y mae y gwrrywaid yn myned i'r Synagog, i wrando y gwasanaeth, fel yr eglurwyd yn y bennod flaenorol. Y mae y menywaid, hwythau, yn brysur, er yn gynar yn y dydd, i lanhau y tŷ, darparu y bwydydd Sabbathol, a gwneyd pob peth yn drefnus erbyn y daw y gwrrywaid adref o'r Synagog. Pan y deuant, y maent yn cael y tŷ wedi ei drefnu, y bwrdd wedi ei osod, a llian claerwyn drosto, a'r lamp neu ganwyllau wedi eu goleuo, fel yr eglurwyd yn y rhan gyntaf. Yn awr daw

y plant at eu rhieni i ofyn eu bendith; gosodant hwythau eu dwylaw ar eu penau—a dywedant wrth bob un o'r meibion, "Gwneled Duw di fel Ephraim ac fel Manasseh;" ac wrth bob un o'r merched, "Gwneled Duw di fel Sarah, Rebecah, Rachel, a Leah."

Wedi hyn y mae y teulu yn ymuno mewn canu emyn Sabbathol. Y mae hon wedi ei seilio ar y dybiaeth fod angylion yn dyfod atynt gyda'r Sabbath, ac yn aros gyda hwy tra parhao y dydd santaidd. Y mae y geiriau yn fath o gyfarchiad iddynt; fel hyn,—"Heddwch fyddo i chwi, chwi angylion gwasanaethgar, chwi genhadon y Goruchaf, oddi wrth Frenin y breninoedd, santaidd a bendigedig yw Efe. *(Tairgwaith)* Bydded eich dyfodiad mewn heddwch, chwi genhadon heddwch, chwi genhadon y Goruchaf, oddi wrth Frenin y breninoedd, santaidd a bendigedig yw Efe. *(Tairgwaith)* Bendithiwch fi mewn heddwch, chwi genhadon heddwch, chwi genhadon y Goruchaf, oddi wrth Frenin y breninoedd, santaidd a bendigedig yw Efe. *(Tairgwaith)* Bydded eich ymadawiad mewn heddwch, chwi genhadon heddwch, chwi genhadon y Goruchaf, oddi wrth Frenin y breninoedd, santaidd a bendigedig yw Efe." (*Tairgwaith.*) Yna dywedir—"Canys Efe a orchymyn i'w angylion am danat, i'th gadw yn dy holl ffyrdd. Yr Arglwydd a geidw dy fynediad allan, a'th ddyfod i mewn, o hyn allan ac yn dragywydd." Ar ol hyn, er mwyn rhoddi gwers a chanmoliaeth i'r rhan fenywaidd o'r teulu, darllenir o'r ddegfed adnod hyd y diwedd o'r xxxi bennod yn llyfr y Diarebion.

Y peth nesaf, ac o'r pwys mwyaf i'w gyflawni, yw santeiddiad y Sabbath. Tuag at wneyd hyny, y mae dau beth ar y bwrdd wedi eu darparu, sef bara a gwin. Ystyrir y ddau yn gysegredig; gan hyny fe'u darperir yn wahanol i fara a gwin cyffredin. Ac yn gyntaf, o barth y bara. Y rheol yw i bob teulu ddarparu y bara hwn iddynt eu hunain, fel y soniwyd tudal. 43. Y mae y dorth o lun brigfain neu gonaidd, a gelwir hwy *Chaloth*, mewn cyfeiriad i'r bara santaidd yn y deml, Lef. xxiv. 5. O barth i'r gwin, rhaid i hwnw fod wedi ei wneyd o'r grawn dan olygiad Iuddew, a'i anfon drosodd i'r wlad hon wedi ei selio gan Rabbi—ac yn niffyg fod y sel yma ar y llestr yn cynwys yr ymadrodd

*Jaiin Cosher*—h. y., gwin cymhwys, nid ellir ei ddefnyddio. Ond y mae y gwin hwn yn rhy ddrudfawr i'r tlodion ei brynu—gan hyny y rheol yw, i deuluoedd wneyd gwin iddynt eu hunain, o resin. Darperir hwn ar y dydd blaenorol, trwy dywallt dŵr berwedig ar y rhesin, a gadael iddo aros arnynt am ryw bedair awr ar hugain, ac yna ei hidlo yn lân; a bydd yn barod i'w ddefnyddio.

Yn awr, wrth fyned i santeiddio y Sabbath, gosodir dwy o'r torthau yma ar y bwrdd, a napcin glân drostynt. Gwneir hyn mewn cyfeiriad i'r *manna* yn yr anialwch—yr oedd hwnw rhwng dwy gaenen o wlith. Hefyd, cesglid dau gymaint ar y chweched dydd ag a wneid ar ddyddiau ereill, er mwyn gorphwys i santeiddio y Sabbath. Cymer y pen teulu wydraid o win yn ei law ddeau, ac adrodda uwchben y bara, y *Cidwsh*, neu Santeiddiad, fel hyn—"Ac ar y seithfed dydd y gorphenwyd y nefoedd a'r ddaear, a'u holl lu hwynt. Ac ar y seithfed dydd y gorphenodd Duw ei waith, yr hwn a wnaethai Efe, ac a orphwysodd ar y seithfed dydd oddi wrth ei holl waith, yr hwn a wnaethai efe. A Duw a fendigodd y seithfed dydd, ac a'i santeiddiodd ef: oblegid ynddo y gorphwysasai oddi wrth ei holl waith, yr hwn a greasai Duw i'w wneuthur.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a greaist ffrwyth y winwydden.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, canys, nyni yw ei ddewisedig, ac a'n gwnaeth ni o'i gariad a'i rad i fwynhau ei Sabbath santaidd, yn goffadwriaeth o weithredoedd y greadigaeth: canys hwnw oedd y diwrnod, dechreuad y cynulliad santaidd, coffadwriaeth ein dygiad o wlad yr Aifft: canys ti a'n detholaist ni, ac a'n santeiddiaist ni, o blith yr holl bobloedd ereill, ac a'n gwnaethost, o'th gariad a'th rad, i fwynhau y Sabbath santaidd. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd! santeiddydd y Sabbath." Ar hyn, cymer lymaid o'r gwin, gan ei roddi hefyd i holl aelodau y teulu, a chymer bob un lymaid o hono. Yna, tyr damaid o fara iddo ei hun, ac i bob un fo wrth y bwrdd, pryd y dywed y fendith hon—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn sydd yn dwyn bara o'r ddaear."

Ar ol i'r santeiddiad derfynu, dechreuir ar y swper. Y mae o bwys mawr ganddynt wneyd tri phryd ar y Sabbath, a dim ond tri. Gwneir felly o anrhydedd i'r Sabbath. Y swper hwn yw y cyntaf o'r tri. Gan mai diwrnod o hyfrydwch a llawenydd yw y Sabbath, un o'r prif foddion i'w santeiddio ydyw bwyta yn dda arno. Felly y mae yr Iuddew yn parotoi bwrdd mor wyched ag fo modd iddo ar y Sabbath. Un o'r dysgleidiau mwyaf hanfodol ydyw pysgod. Cymeradwyir hyn yn fawr gan eu hen athrawon; ac os bydd modd yn y byd, fe fyn yr Iuddew ei bysgodyn Sabbathol pe gorfyddai iddo fod mewn angenion dyddiol o'r herwydd. Ar ol swper, adroddir y fendith gyffredin ar ol bwyd; a threulir gweddill yr hwyr mewn canu, darllen, neu adrodd chwedlau Iuddewig.

Bore dranoeth, sef bore eu Sabbath, ant i'r Synagog; ac ar ol dychwelyd adref ar ol y gwasanaeth, rhaid santeiddio y dydd cyn profi tamaid o fwyd. Y dull y gwneir hyny sydd fel hyn—Cymer y pen teulu wydraid o win yn ei law ddeau, ac adrodda y *Cidwsh Haiiom*—h. y., Santeiddiad y Dydd, fel hyn, "Am hyny y ceidw meibion Israel y Sabbath trwy eu cenedlaethau, yn gyfammod parhaus. Arwydd tragwyddol ydyw rhyngof fi a meibion Israel; canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear, ac a orphwysodd ar y seithfed dydd, ac a adfywiwyd. Cofia y dydd Sabbath, i'w santeiddio ef. Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl waith. Canys y seithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: arno na wna ddim gwaith—tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th was, na'th forwyn, na'th anifail, na'r dyn dyeithr a fyddo o fewn dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt, ac a orphwysodd y seithfed dydd; am hyny y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabbath, ac a'i santeiddiodd ef."

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a greodd ffrwyth y winwydden."

Ant i'r Synagog yn y prydnawn drachefn, fel yr eglurwyd yn y bennod flaenorol; ac ar ol dyfod adref, eisteddant wrth y bwrdd y drydedd waith.

Ystyrir, fel y nodwyd eisioes, fod yn angenrheidiol cael tri phryd, a dim ond tri, ar y Sabbath, er anrhydedd i'r dydd. Y mae hyn wedi ei seilio ar yr ymadrodd yn Ex. xvi. 25, "A dywedodd Moses, Bwytewch hwn heddyw, oblegid Sabbath yw heddyw i'r Arglwydd: ni chewch hwn yn y maes heddyw." Y mae y gair *heddyw* dair gwaith yn yr adnod, ac yn arwyddo, medd y Rabbiniaid, fod bwyta tri phryd ar y Sabbath yn rinwedd mawr. Pan bo y ser yn dechreu ymddangos, neu yr amser iddynt wneyd hyny wedi dyfod, y mae y Sabbath ar ben.

III. Yn nghadwraeth y Sabbath, cedwir at amryw o orchymynion yn nghyfraith Moses. "Na chyneuwch dân yn eich holl anneddau ar y dydd Sabbath, Ex. xxxv. 3. Y maent yn cadw at lythyren y gorchymyn yma yn fanwl. Nid yn unig ymgadwant rhag cyneu tân, ond hefyd rhag goleu canwyll; nac hyd yn nod ei thocio. Gan nad ellir gwneyd heb dân a chanwyllau yn y gauaf, y rheol gyffredin yw cadw morwyn o blith y Cenedloedd, fel y byddo y gorchwylion yma a'r cyffelyb yn disgyn i'w rhan hi. Ac am y teuluoedd sydd yn rhy dlawd i gadw morwyn, y mae amryw o honynt yn ymuno i gyflogi un am y Sabbath, i gyflawni y gorchwylion nad yw yn gyfreithlawn i Iuddew eu cyflawni, ac eto gorchwylion nad ellir gwneyd hebddynt. Yn nglŷn â hyn, nid yw yn gyfreithlawn cegino bwyd ar y Sabbath, na bwyta dim a barotowyd felly ar y dydd santaidd. Seilir hyn ar y gorchymyn yn Ex. xvi. 22—31. Gan hyny rhaid parotoi y prydiau Sabbathol ar y dydd Gwener blaenorol. Ond gan fod ymborth cynhes mor angenrheidiol, yn neillduol ar dywydd oer, y mae amryw o ddyfeision wedi eu gwneyd i gyrhaedd hyny heb droseddu y rheolau. Y dull mwyaf cyffredinol yw parotoi y ddysglaid a elwir *Shalit*. Dysglaid Iuddewig yn hollol ydyw hon, i'w defnyddio ar y Sabbath, a gwneir hi trwy holl Ewrop. Ei defnydd ydyw cig, pys, ffa, neu reis. Rhoddir y cwbl blith-draphlith mewn llestr, a hwnw drachefn mewn ffwrn wedi ei phoethi i'r pwrpas, a gadewir o yno hyd brydnawn dranoeth (eu Sabbath), pryd y cymerir o allan i giniaw. Yn gyffredin y mae yn cadw mor gynhes ag y dymunir i ymborth fod.

Nid yw chwaith yn gyfreithlawn gario baich ar y

Sabbath, yn ol gorchymyn y prophwyd Jeremiah, xvii. 21. Dywed y Rabbiniad nad yw yn gyfreithlawn gario cadach rhydd yn y llogell, na phin diangenrhaid yn y dillad. Pa fodd bynag, os pinir y cadach wrth y llogell, neu os rhwymir o amgylch y lwynau, bydd yn gyfreithlawn ei gario, am ei fod y pryd hyny fel rhan o'r wisg. Os bydd yr Iuddew yn byw mewn tref gaerog, gall gario unrhyw faich, am fod muriau y dref yn ei gwneyd fel ei annedd ei hun; ond nid yw yn gyfreithlawn mewn unrhyw le arall. Nid yw yn gyfreithlawn iddynt farchogaeth ar farch nac mewn cerbyd, na cherdded dros ryw filldir o ffordd oddi wrth eu hanneddau. Nid yw yn gyfreithlawn fasnachu mewn un modd, nac ymaflyd mewn unrhyw offeryn gweithio, na chwareu unrhyw offeryn cerdd, nac ysgrifenu mewn un modd, nac ymdrochi, na brwsio eu gwallt, na chladdu eu marw. Ond gallant ymweled â'r claf; a phe dygwyddai unrhyw anffawd i beryglu bywyd a meddiannau, megys tŷ yn myned ar dân, gellir gweithio i attal y dinystr.

Heblaw ar adeg y gwasanaeth yn y Synagog, y mae llawer yn treulio gweddill y dydd mewn darllen gweithiau eu Rabbiniaid, adrodd chwedleuon Iuddewig, a chanu eu hemynau dewisol. Ond y mae corff y genedl yn ei wneyd yn ddiwrnod i rodiana, a myned allan o fan i fan. Y mae y rhai mwyaf crefyddol yn ei ddefnyddio yn ddiwrnod i ymweled â'u cyfeillion; ond y mwyafrif o lawer yn ei dreulio i geisio llawenydd a phleser.

Cyn terfynu y bennod hon, y mae'n iawn dweyd fod lluaws o honynt yn dangos parch i'r Sabbath Cristionogol hefyd. Y maent yn gyffredin yn cau eu masnachdai, fel ar eu Sabbath eu hunain; a gwn am lawer o deuluoedd sydd yn dangos mwy o barch i'r Sabbath Cristionogol na miloedd o'u cymydogion Cenedlaidd. Gwn hefyd am rai teuluoedd, na fynant er dim i'w gwasanaethyddion Cristionogol wneyd gorchwylion ar y Sabbath Cristionogol, fo yn anmhriodol i gadwraeth y dydd.

---

## PENNOD V.—Y NEWYDD LOER.

EI HYSBYSIAD YN Y SYNAGOG—GWASANAETH CYHOEDDUS—DYLEDSWYDDAU PERSONOL.

GELWIR y dydd cyntaf o bob mis Iuddewig yn *Rosh Chodesh*, h. y., dechreu y mis; a chedwir o yn ŵyl benodo o barch i ddechreuad y mis.

I. Ar y Sabbath o flaen y Lleuad Newydd, hysbysa y darllenydd, yn nghanol y gwasanaeth boreuol, fod y mis a'r mis yn dyfod i mewn yr wythnos hòno ar y dydd a'r dydd. Cyn hysbysu y dydd penodol, dywed y weddi hon,—"Bydded i'r hwn a wnaeth wyrthiau i'n henafiaid, ac a'u rhyddhaodd o gaethiwed i ryddid, ein rhyddhau ninau yn fuan, a chasglu ein gwasgaredigion (holl blant Israel) o bedair congl y ddaear; a dywedwn" (yna dywed yr holl gynulleidfa) "Amen." Ar ol enwi y dydd o'r wythnos y dechreua y mis newydd, dywed y gynulleidfa i ddechreu, a'r darllenydd wed'yn, fel hyn, "Bydded i'r llu santaidd a bendigedig ei adnewyddu i lawenydd a hyfrydwch, bywyd a thangnefedd, iechydwriaeth a chysur, i ni a'i holl bobl, sef tŷ Israel; a dywedwn Amen."

II. Y mae y gwasanaeth cyhoeddus yn y Synagog yn debyg i'r hyn ydyw ar ddiwrnodau ereill, gyda rhai chwanegiadau. Y prif chwanegiad yw detholiad o Salmau a elwir ganddynt *Halel*. Hefyd, darllenir gwers o'r gyfraith, yn debyg fel y gwneir ar y Sabbath. Y mae y wers hon yn gynwysedig yn yr adnodau canlynol yn llyfr Numeri, pen. xxviii, adn. 1—8, a 11—15. Gelwir pedwar i fyny i'r ddarllenfa i wrando y wers, sef un Cohen, un Lefiad, a dau Israeliad.

III. Rhwng y pedwarydd a'r pymthegfed dydd o'r mis, y mae rhwymau ar bob Iuddew i gyfarch y Lloer, unai wrtho ei hun, neu gydag amryw o'i frodyr. Y dull mwyaf dewisol a chyffredin ydyw i amryw ymuno yn y cyfarchiad. Cyflawnir y seremoni fel hyn:—Ar ol y gwasanaeth hwyrol, ar eu Sabbath, yn y Synagog, aiff nifer o honynt yn nghyd i ryw le cyfleus i ganfod y lleuad, a rhoddant eu hunain mewn trefn i gyflawni y

ddefod. Nodir un o honynt i gymeryd y blaen. Yna fe adrodda y *Cidwsh Halfanah;* h. y., santeiddiad y Lloer; ac adroddir ar ei ol gan y gwyddfodolion; fel hyn,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, trwy air yr hwn y crëwyd y nefoedd, a'u holl luoedd, âg anadl ei enau. Rhoddodd ddeddf ac amser iddynt, fel na chilient oddi wrth eu trefniadau. Yr oeddent yn hoff ac yn llawen i ufuddhau i ewyllys eu Creawdwr; y mae y gwaith yn gywir, a'i waith Ef yn ffyddlawn. A gorchymynodd i'r Lleuad adnewyddu coron ei gogoniant bob mis, tuag at y rhai a enir o'r groth; fel y gallont hwythau gael eu hadnewyddu yn debyg iddi, i ogoneddu eu Creawdwr, er mwyn enw gogoniant ei deyrnas. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, adnewyddwr y misoedd." (Yna dywedir dair gwaith) "Bendigedig yw dy Luniwr, bendigedig yw dy Wneuthurwr, bendigedig yw dy Feddiannydd, a bendigedig yw dy Greawdwr." Yna neidiant tua'r lleuad, gan ddywedyd dair gwaith, "Yr un modd ag yr wyf fi yn neidio tuag atat ti, ond heb allu dy gyrhaedd, felly na fydded i'r un o'm gelynion allu gwneyd niwaid i mi." Yna dywedant yr ymadroddion canlynol dair gwaith bob un,—"Ofn a dychryn a syrthio arnynt; gan fawredd dy fraich byddant yn llonydd fel careg." "Byddant yn llonydd fel careg, gan fawredd dy fraich; ofn a dychryn a ddel arnynt." "Y mae Dafydd, brenin Israel, eto yn fyw." Yna dywed y naill wrth y llall, "Tangnefedd i chwi;" ac atebir, "Ac i chwithau dangnefedd." Ar ol adrodd rhai gweddiau ereill, y mae cysegriad y lloer yn terfynu gydag i bob un ysgwyd godrau ei ddillad, trwy yr hyn, meddir, y syrth pob ysbryd drwg fo o'u cwmpas i'r llawr. Y mae yr Iuddew yn teimlo yn dra hyderus, os caiff y cyfle i santeiddio y lleuad, y cedwir ef yn ddiogel y mis hwnw. Gan hyny, y mae mewn pryder mawr o ddydd cyntaf y mis hyd y noswaith y caiff gyfarch y lloer. Edrychir ar y lleuad fel y *Shechinah*, neu bresenoldeb y Goruchaf; a dywedir gan eu hathrawon, fod bendithio y lleuad mor rinweddol a phe derbynid y *Shechinah*. A chyda golwg ar hyn dywedir wrthym yn eu llyfr gwasanaeth, fod Rabbi Ishmael yn dal, pe bae Israel yn cael cenad i erbarchu presenoldeb dwyfol eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, ond unwaith

yn y mis, y byddai hyny yn ddigon iddynt. Gan hyny, dywed Abaia, y dylid gwneyd hyny yn sefyll.

Dywed y Talmwd, fod yr haul a'r lleuad wedi eu creu yn gyffelyb mewn maint a goleuni; ond i'r lleuad ddweyd wrth yr Arglwydd, "Yr wyt wedi rhoi goleuni cyfartal i mi ac i'r haul, ac nid all y ddaear wybod rhagor rhyngom, na gwahanu rhwng dydd a nos." Gwelodd yr Arglwydd fod y lleuad yn chwennych mwy o oleuni na'r haul; ac i gosbi ei balchder, dywedodd wrthi y cai yr haul, o'r dydd hwnw allan, y goleuni mwyaf. Ar y chwedl hon y seilir y weddi ganlynol sydd yn ngwasanaeth y Newydd Loer—"Bydded yn unol â'th ewyllys di, O Dduw, a Duw ein tadau, i bara i gyflawni diffygion y lleuad, ac i oleuni y lleuad fod fel goleuni yr haul, fel yr oedd ei goleuni y chwe dydd cyntaf o'r greadigaeth, cyn ei lleihad: megys y dywedir, 'Y ddau oleuad mawrion.' O bydded i'r ymadrodd gael ei gyflawni."

## PENNOD IV.—Y GWYLIAU IUDDEWIG.

### DOSPARTHIAD Y FLWYDDYN—GWYLIAU POB MIS.

EIN hamcan yn y bennod hon fydd egluro y gwahanol wyliau, a'r dull o'u cynal: ac er mwyn gwneyd hyny mewn modd mor fyred a chryno ag y medrwn, nyni a'u cymerwn, o un i un, o ddechreu i ddiwedd y flwyddyn.

I. Yma dylem sylwi, fod yr Iuddewon yn trefnu eu misoedd wrth y lleuad—a bod deuddeg o'r misoedd hyny mewn blwyddyn; ond gan nad yw misoedd lleuadol yn cyfateb i'r flwyddyn seryddol, chwanegir mis atynt bob tair blynedd. Gelwir y mis chwanegol yma yn *Feadar*, neu *Adar Sheni*, h. y. ail Adar, fel y cawn weled rhagllaw; a gelwir y flwyddyn hono yn *Shefath Ngibur*, blwyddyn naid.

Nid yw y misoedd yn cyfateb i'n misoedd ni: gan hyny nid ydynt yn dechreu bob blwyddyn ar yr un dydd o'n mis ni. Y mae y daflen ganlynol yn dangos ar ba amser o'n blwyddyn ni y mae y misoedd Iuddewig yn dygwydd.

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Nisan* | Mawrth, Ebrill | *Tishri* | Medi, Hydref |
| *Jair* | Ebrill, Mai | *Marcheshfan* | Hydref, Tachwedd |
| *Sifan* | Mai, Mehefin | *Cislef* | Tachwedd, Rhagfyr |
| *Tamws* | Mehefin, Gorphenhaf | *Tefeth* | Rhagfyr, Ionawr |
| *Af* | Gorphenhaf, Awst | *Shefat* | Ionawr, Chwefror |
| *Elwl* | Awst, Medi | *Adar* | Chwefror, Mawrth |

*Feadar*—Mawrth.

Dylem grybwyll yma, cyn myned yn mhellach, fod gan yr Iuddewon ddau fath o flwyddyn—sef, gwladol ac eglwysig. Dechreuad y flwyddyn grefyddol yw *Nisan*, mewn coffadwriaeth o'u mynediad allan o wlad yr Aifft. Yn ol y flwyddyn yma y maent yn cyfrif eu gwyliau, yn nghyda theyrnasiad eu breninoedd. Y mae y flwyddyn wladol yn dechreu yn mis *Tishri*, mewn coffadwriaeth am greadigaeth y byd. Yn ol y flwyddyn hon y mae dygwyddiadau ac amgylchiadau gwladol a masnachol yn cael eu cofnodi.

II. Yn y bennod hon ni ganlynwn y misoedd yn ol y flwyddyn wladol—gan mai hòno yw y drefn fwyaf pwysig ac ymarferol; gan egluro y gwyliau o un i un yn ol fel y maent yn dygwydd.

## Tishri.

Mis *Tishri* yw y cyntaf yn y flwyddyn. Y mae yn cynwys 30 dydd; ac yn dechreu rywbryd o'r 12 o Fedi hyd 12 o fis Hydref. Y mis hwn yw yr adeg fwyaf pwysig i'r Iuddew drwy y flwyddyn. Credir mai ar y mis hwn y crewyd y byd; a chedwir o mewn rhan fawr fel cylchwyl y cread. Yn nglŷn â hyn, credir hefyd fod tynged pawb yn cael ei derfynu ar y mis hwn—fod y Creawdwr yn eistedd ar ei orsedd, ar y dydd cyntaf o'r mis, ac yn pwyso pechodau a rhinweddau pawb—fod y

rhai fo â'u pechodau yn gorbwyso eu rhinweddau, yn cael eu selio i farwolaeth; a'r rhai fo â'u rhinweddau yn gorbwyso eu pechodau, yn cael eu selio i fywyd; ond fod barn y rhai fo â'u rhinweddau a'u pechodau yn gydbwys, yn cael ei ohirio hyd ddydd y cymod (fel y cawn nodi eto); gan hyny, os edifarhant, selir hwynt i fywyd; ond os nad edifarhant, selir hwynt i farwolaeth. Am hyny, gelwir y dydd yma, sef y cyntaf o'r flwyddyn, yn *Iom Hadin*, dydd barn. Am wyth niwrnod cyn y dydd yma, y rheol yw codi yn fore, tua phedwar o'r gloch, i fyned i'r Synagog, pryd y darllenir y gweddiau a elwir *Selichoth*, h. y. maddeuant.

Ar y dydd cyntaf cynelir yr ŵyl fawr. Yr enw cyffredin sydd arni ydyw, *Rosh Hashanah*, h. y. dechreuad y flwyddyn. Y mae yr ŵyl yn dyfod i mewn yr un amser o'r dydd a'r Sabbath blaenorol, sef oddeutu hanner awr wedi pump o'r gloch y prydnawn—ychydig cyn i'w pen flwyddyn fyned allan. Y mae y gwrrywaid yn ymgasglu i'r Synagog. Y mae y gwasanaeth wedi ei gyfaddasu i dderbyn yr ŵyl, ond yn rhy faith i'w adrodd yma. Ar ol gorphen, cyfarchant eu gilydd wrth fyned allan, "Ysgrifener chwi i flwyddyn dda." Hefyd, y mae y plant a'r rhieni yn fanwl iawn i gyfarch eu gilydd felly. Yr un modd hefyd y mae cyfeillion a chymydogion; ac os bydd ymryson rhwng rhai o honynt, rhaid ei derfynu cyn *Rosh Hoshanah*. Os na faddeuant eu camweddau i'w gilydd, sut y gallant ddysgwyl i'r Barnwr cyfiawn faddeu iddynt hwythau?

Ar ol dychwelyd adref y mae y penteulu yn myned at y gorchwyl o santeiddio yr ŵyl, yn debyg fel yr adroddwyd am y Sabbath. Ar ol cymeryd gwydraid o win yn ei law ddeau, fe ddywed y *Cidush* neu Santeiddiad fel hyn,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n dewisaist ni o blith yr holl bobloedd ereill, ac a'n dyrchafaist ni uwch law pob cenedl arall, ac a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion; ac a ganiateaist i ni, O Arglwydd, ein Duw, mewn cariad, y dydd yma o goffadwriaeth, y dydd hwn o chwythu yr udgorn, cymanfa santaidd, coffadwriaeth ein dygiad allan o'r Aipht; o herwydd ti a'n dewisaist ni, ac a'n neillduaist ni oddi wrth bob dynion ereill; canys dy eiriau di, O ein Brenin, ydynt wirionedd, ac i barhau byth. Ben-

digedig wyt ti, O Arglwydd, Brenin y ddaear, santeiddydd Israel, a dydd coffadwriaeth."

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, ein Duw. Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n cynaliaist ni, ac a'n cedwaist ni i fwynhau y tymor hwn."

Os dygwydd yr ŵyl fod ar y Sabbath, enwir y Sabbath yn y fendith; a chwanegir bendith arall nad gwiw ei chofnodi yma.

Ar ol y santeiddiad yma, fe gymer y penteulu un o'r bara cysegredig, fel ar y Sabbath, gan ei thori trwy yr hanner—ac eilwaith yn dameidiau cyfartal i gynifer ag a fyddo wrth y bwrdd. Wrth ei gyfranu, cyn iddynt ei fwyta, adrodda fendith i'w santeiddio. Yna dechreuir ar y swper. Ond cyn dechreu bwyta o hono—yn wir, cyn ei gyfranu, y mae seremoni arall i'w chyflawni. Ar y bwrdd, y mae llestr yn cynwys mel, yn nghydag afal. Tyr y penteulu damaid o'r afal i bob un fo yno, gan ddywedyd, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw! Brenin y greadigaeth, Creawdwr ffrwyth y pren." Yna rhydd bob un ei damaid yn y mel, gan ddywedyd, "I flwyddyn dda, ac un felus." Y maent yn bur ofalus i beidio bwyta dim sur am y ddau ddiwrnod dan sylw.

Bore dranoeth ant i'r Synagog am chwech o'r gloch, a phery y gwasanaeth hyd hanner dydd. Y mae yn gynwysedig, yn benaf, o weddiau, a bendithion, a chwedleuon, i argraffu ar feddwl yr Iuddew yr holl syniadau sy ganddynt am bwysfawredd a dyledswyddau yr ŵyl. Tua'r canol, darllenir gwers o'r gyfraith a'r prophwydi, sef Gen. xxi; a Num. xxix. 1—6; a 1 Sam. i. hyd ii. 10. Yn awr, y mae y rhan fwyaf pwysig o'r gwasanaeth yn cymeryd lle—sef chwythu y corn. Seilir y ddefod ar yr ysgrythyrau hyn—Num. xxix. 1, a Lef. xxiii. 24; a chyflawnir hi fel y canlyn:—

Defnydd y *Shophar* neu gorn yma ydyw corn hwrdd, mewn coffadwriaeth o'r hwrdd a aberthodd Abraham yn lle ei fab Isaac, Gen. xxii. 12, 13, canys dywed y Rabbiniaid mai ar gyfer y dydd hwn y bu hyny. Ac yma dylai y darllenydd wybod fod y *Shophar* yn cael ei chwythu bob bore yn y Synagog am y mis blaenorol. Y mae y dyben, medd eu hen athrawon, yn ddeuplyg. Un dyben yw dyrysu Satan pan y mae yn myned i gyhuddo Israel ger bron yr Arglwydd. Dyma yr adeg y

mae yn adrodd holl bechodau y genedl ger bron y Goruchaf; ond y mae chwythu y *Shophar* yn foddion effeithiol i'w ddyrysu. Heblaw hyn, y mae chwythu y *Shophar*, os gwneir o yn iawn, ac ar yr adeg gymhwys, yn foddion pwysig i gynhyrfu yr Arglwydd i drugarhau wrth y genedl. Yn yr adeg y mae "Israel yn cymeryd eu hudgyrn," medd eu hathrawon, ac yn eu chwythu ger bron y Santaidd, bendigedig fyddo Efe, y mae yn codi oddi ar orsedd barn, ac yn eistedd ar orsedd trugaredd, fel y mae yn ysgrifenedig, 'Yr Arglwydd â sain udgorn,' (Salm xlvii. 5); a llenwir Ef â thrugaredd tuag atynt, a chymer dosturi arnynt, a newidia y briodoledd o gyfiawnder oedd yn eu herbyn i drugaredd."

Fel y gellid meddwl, y mae chwythu y *Shophar* yn weithred bwysig iawn; gan hyny, ni ymddiriedir y gorchwyl ond i berson a ystyrir yn fwy crefyddol na'r cyffredin. Heblaw hyn, rhaid iddo fod yn bur hyddysg yn y gorchwyl; canys rhaid i bob chwythiad gynwys y seiniau penodol. Y mae enw priodol i bob chwythiad—a gelwir yr enw allan ar goedd y gynulleidfa gan ŵr penodedig—un a ystyrir, fel yr udganwr, yn enwog mewn crefydd; canys y mae y ddwy swydd yn rhai anrhydeddus iawn. Yr adeg fwyaf pwysig trwy yr holl ŵyl yw amser yr udganiad—gan hyny, y mae pob Iuddew fo âg unrhyw radd o deimlad Iuddewaidd ynddo, yn myned i glywed y *Shophar*. Y mae y menywaid hefyd yr un mor awyddus i'w glywed. Pan bo yr adeg yn y gwasanaeth wedi dyfod, y mae yno ddystawrwydd perffaith—peth annghynefin iawn i'r Synagog; a chyda fod y gair yn cael ei enwi, dyna y *Shophar* yn lleisio. Y mae y chwythiadau yn cynwys deg ud ar hugain. I bawb ond Iuddew, y mae y seiniad yn annghersddgar a phlentynaidd; ond iddo ef y mae yn bwysig ac ofnadwy.

Efallai y dylem grybwyll yma, fod pedwar yn cael eu nodi i weini gyda'r *Shophar*. Rhaid iddynt ymburo trwy ddwfr cyn gweini. Rhaid iddynt hefyd wisgo eu *Talith*, *Citl* (math o ŵn gwyn), a *Chagwrah*, neu wregys; yn debyg fel y byddant wrth gael eu claddu. Adroddir y xlvii Salm saith o weithiau, mewn cysylltiad â rhanau ereill o'r Ysgrythyr; ac y mae y llythyren gyntaf yn mhob llinell yn gwneyd yr ymadrodd, *Cerang Satan;* h. y. dryllier Satan. Os methir yn y chwythiad,

peryglir effeithiolrwydd y ddefod; ond os fel arall, bydd yn effeithiol. Ar yr un pryd, gweddïir ar i'r angylion santaidd gael eu hanfon i'r gwasanaeth, i arolygu yr udganiad, ac i gario yr udiadau yn gymeradwy ger bron Duw. Y mae y weddi yn rhedeg fel hyn—Bydded yn gymeradwy ger dy fron di, O Arglwydd fy Nuw, a Duw fy nhadau, Duw y nefoedd, a Duw y ddaear; Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob, y Duw mawr, galluog, ac ofnadwy, i anfon yr angylion pur i mi, y rhai sydd yn weinidogion ffyddlawn, a ffyddlawn yn eu cenadwri; y rhai sydd yn awyddus a boddlawn i gyfiawnhau Israel; ac hefyd yr angel mawr *Patspatsiah*, yr hwn sydd wedi ei benodi i gyflwyno rhinweddau Israel pan yr udganant y *Shophar* y dydd hwn; ac hefyd yr angel mawr *Tashbash*, yr hwn sydd wedi ei benodi i gyhoeddi rhinweddau Israel, ac i ddyrysu Satan â swn eu hudgorn, a'r tywysogion mawr, y rhai sydd wedi eu penodi i arolygu y corn, *Enkatham* a *Pastam*; a'r angylion mawr, *Hadwrniel* a *Sundalphon*, y rhai a benodwyd dros ein hudganiad, y rhai sydd yn dwyn ein hudganiad gerbron gorseddfainc dy ogoniant; ac hefyd yr angel *Shamshiel*, yr hwn sydd wedi ei benodi dros y llawen floedd; a'r angel *Prasta*, yr hwn sydd wedi ei benodi dros ———— fel y byddo iddynt oll fod yn hwylus yn eu neges; i gyflwyno ein seiniau o flaen y llen, ac o flaen gorsedd dy ogoniant; a bydded i ti gael dy lenwi â thrugaredd tuag at dy bobl Israel; ac arwain ni o fewn llinell dymherus cyfiawnder; ac ymddwyn at dy blant, yn ol priodoledd dy drugaredd; a goddef i'n seiniadau esgyn ger bron gorseddfa dy ogoniant." Defnyddir amryw iawn o weddiau yn nghorff y gwasanaeth—rhai at yr angylion—rhai i ddadlu teilyngdod eu tadau, a Jerusalem, y ddinas santaidd—ac hefyd y Messiah; ond y maent yn rhy faith i'w nodi yma. Y mae gwasanaeth y bore yn awr ar ben.

Ant i'r Synagog drachefn yn y prydnawn; a darllenir amryw o weddiau, &c, wedi eu cymhwyso yn neillduol at y dydd. Eir i'r Synagog yn yr hwyr hefyd—ac eir dros yr un gwasanaeth ag yn yr hwyr o'r blaen.

Ar ol gorphen yn y Synagog, cyflawnir defod y *Tashlich*, h. y. taflyd eu pechodau i ffwrdd; ac y mae y gwrrywaid, y menywaid, a'r plant, yn ymuno yn hyn.

Eir at ddŵr rhedegog, os gellir, neu ynte rhyw lyn, ac adroddir gweddi ar fin y dŵr. Ar ol gorphen y weddi, ysgydwa pob un odrau ei ddillad uwch ben y dwr; a chredant fod eu pechodau yn syrthio i'r dŵr, ac y collir hwynt yno am byth. Tros wneyd hyn, cyfeiriant at Micah, vii. 19.

Cedwir yr ail ddydd yn ŵyl fel y blaenaf; ac y mae y gwasanaeth yn debyg yr un fath ar y ddau.

Y wers o'r gyfraith a ddarllenir bore yr ail ddydd, yw Gen. xxii, lle y sonir am Abraham yn aberthu Isaac. Y wers o'r prophwydi yw, Jer. xxxi. 2—20. Cedwir y ddau ddiwrnod yma mor fanwl a chysegredig a'r Sabbath, oddi eithr yn unig fod caniatâd iddynt gyneu canwyllau a thân, a gwneyd rhyw bethau angenrheidiol ereill.

Ympryd Gedaliah. Ar y trydydd dydd o'r mis hwn, cedwir ympryd mewn cof am ladd Gedaliah. 2 Bren. xxv. 25 a Jer. xii. 2.

*Dyddiau Edifeirwch.* Gelwir y dyddiau o *Rosh Hashanah* hyd *Iom Cippwr*, sef o'r ail ddydd o'r mis hyd y degfed, yn *Jemei Hateshwfa*, neu ddyddiau edifeirwch. Trwy gystuddio eu cyrff, ymprydio, &c, credant y gallant ennill ffafr y Goruchaf. Nid yn unig y mae y dyddiau hyn yn adeg i'r rhai canolig o ran eu nodweddiad, ymwella, a chael maddeuant, ond hefyd gall y rhai yr ysgrifenwyd marwolaeth yn eu herbyn ar y dydd cyntaf, symud y ddedfryd trwy iawn ddefnyddio y dyddiau hyn. Gelwir hefyd y Sabbath fo yn disgyn ar un o'r dyddiau yma yn *Shabbath Teshwfah,* Sabbath edifeirwch. Edrychir ar yr ysbaid yma fel yr unig amser i gael edifeirwch am bechodau y flwyddyn. Rhaid i heddwch â'r Barnwr gael ei wneyd cyn machlud haul y degfed dydd; a'r modd i gael hyny yw trwy ymprydio, a gweddio, ac elusenau. Ond os na cheir o cyn machludiad haul y degfed dydd, y mae y cwbl wedi'n yn ofer; canys yn awr y mae y weddi olaf yn terfynu yr wyl—ei henw yw *Nengilah,* cauad neu folltiad, i arwyddo fod drws maddeuant a thrugaredd yn cael ei gau. O herwydd hyn gelwir y dyddiau yma hefyd *Jamim Noraim,* dyddiau ofn neu enbydrwydd.

Ar y nawfed dydd codir i fyned i'r Synagog am ddau o'r gloch y bore—dychwelir adref am oddeutu pedwar i

fore-fwyd. Yna parotoir yr aberth—ceiliog i wrryw, ac iar i fenyw, yn gyffredin; ac os bydd modd, un o liw gwyn; mewn cyfeiriad i eiriau y prophwyd, "Pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ant cyn wyned â'r eira." Y mae y wraig feichiog yn aberthu tri—dwy iar ac un ceiliog; un iar drosti ei hun, a'r lleill dros y bychan fo dan ei gwregys—y ceiliog rhag mai gwrryw ydyw, a'r iar rhag mai menyw. Cyflawnir y ddefod gan y penteulu, drosto ei hun yn gyntaf, ac wedi hyny dros ei deulu. Tra bo yr aberth yn ei ddwylaw, adrodda ran o'r Salm cvii. sef o ad. 14 hyd 21, ac hefyd Job xxxiii. 23, 24. Try yr aberth o gwmpas ei ben, ac wrth wneyd felly, dywed, "Hwn yw fy mhridwerth—hwn yw fy nirprwy. Y mae y ceiliog hwn yn myned i angau, ond bydded i mi gael myned i fywyd hir a dedwydd, ac i heddwch." Dechreua drachefn adrodd geiriau y Salmydd--ac adrodda hwynt dair gwaith. Yna lleddir yr aberth; ac ar ol gwneyd fel hyn drosto ei hun, gwna yr un modd dros wahanol aelodau y teulu.

Ar ol y gwasanaeth boreuol, ant i'w gwahanol gladdfeydd i ymweled â'r meirw. Eu dyben ydyw erfyn ar eu perthynasau a'u cyfeillion marw i'w cofio dranoeth mewn gweddi, a chyfryngu ar eu rhan am ffafr y Brenin mawr.

Am ddau o'r gloch yn y prydnawn eir i'r Synagog i'r gwasanaeth; ond cyn myned y tro hwn, dylid ymburo trwy ymolchi, fel bo y cyffesiadau yn cael eu gwneyd â chorff glân. Ar ol y gwasanaeth, y mae y fflangelliad yn cymeryd lle. Defnydd y fflangell yn gyffredin yw lledr; ac ar gefn noeth y dyoddefydd rhoddir deugain gwialenod ond un, Deut. xxv. 2, 3. Ychydig sydd yn ymostwng i'r fflangell—nid o ran ei bod yn boenus iawn; canys y mae mwy o berygl o lawer oddi wrth yr ergydion a roddant ar eu dwyfronau a'u dyrnau eu hunain, nag sydd oddi wrth y fflangell.

Ar ol y gwasanaeth dychwelir adref, ac eisteddant wrth y bwrdd i fwyta y pryd olaf cyn yr ympryd mawr. Rhaid terfynu hwn cyn machlud haul, oddeutu yr amser y mae y Sabbath yn dechreu. Ar ol hyn nid yw yn gyfreithlawn cymeryd dim lluniaeth hyd nos dranoeth. Bellach y maent yn ymlanhau, ac yn gwisgo eu dillad goraf, ac yn myned i'r Synagog.

Iom Cippwr. Y mae y gwasanaeth yma yn dwyn i mewn y degfed dydd, ar ba un y cedwir yr ŵyl fawr flynyddol, *Iom Cippwr*, neu Ddydd y Cymod. Ac yn awr y mae y ddyledswydd o faddau i'w gilydd yn dyfod adref at feddwl pob un teimladwy. Y mae y plant, y rhieni, a'r cyfeillion, yn erfyn maddeuant eu gilydd am bob trosedd y dichon iddynt fod yn euog o hono. Os bydd ymrafael o bwys rhwng rhyw ddau, y mae y troseddwr yn myned at y sawl sydd â chŵyn yn ei erbyn, ac yn gofyn ei faddeuant. Os na rydd efe faddeuant iddo, fe gymer dri chyfaill gydag ef ato eilwaith. Os para yn anfaddeuol a wna, rhaid iddo gymeryd deg gydag ef, yr hyn sydd yn cyfansoddi cynulleidfa, ac yn eu gwydd fe ddywed, "Foneddigion, yr wyf wedi gwneyd cam â'r gŵr hwn, am yr hyn yr wyf yn erfyn ei faddeuant a'i heddwch." Os para yn gyndyn a wna drachefn, gadewir ef yn hollol ddisylw, ac ni cheisir ei faddeuant drachefn. Anfynych y mae hyny yn dygwydd; ond y maent yn barod i faddeu i'w gilydd ar yr adeg dan sylw: ïe, pe bae cyfraith rhwng unrhyw ddau, terfynent yr achos dros ddydd y cymod, pe ail ddechreuid hi dranoeth ar ol hyny.

Ar ol myned i'r Synagog, arosir yn bryderus hyd adeg y gwasanaeth. Y mae hwnw yn dechreu gyda y rhaith a elwir *Col Nidrei*—hyny yw, y gollyngdod oddi wrth bob llw, ymrwymiad, ac addewid, yn neillduol mewn pethau crefyddol. Darllenir y rhan yma mewn ton benodol iawn—dechreuir yn isel a chwynfanus, a chryfheir wrth fyned yn mlaen. Y mae yn rhedeg fel hyn—"Yr holl addewidion, ymrwymiadau, llwon, anathemau, &c., yr addawsom, y cysegrasom, ac yr ymrwymasom iddynt, o Ddydd y Cymod y llynedd, hyd Ddydd y Cymod eleni, yr hwn sydd wedi dyfod hyd atom mewn heddwch; ac o Ddydd y Cymod hwn hyd Ddydd y Cymod a ddaw atom eto mewn heddwch; na fydded ein diofrydau yn ddiofrydau, na fydded ein llwon yn lwon, na fydded ein cysegriadau yn gysegriadau, na fydded ein hymrwymiadau yn ymrwymiadau. Yr ydym yn edifarhau o'u herwydd oll—symuder hwynt, ac na fydded iddynt gael gallu, awdurdod, na bodoliaeth." Y mae y *Chazan* yn adrodd hyn dair gwaith, a'r gynulleidfa yn ateb dair gwaith fel hyn—"A maddeuir i holl

gynulleidfa meibion Israel, ac i'r dyeithr a ymdeithio yn eu mysg; canys dygwyddodd i'r bobl mewn amryfusedd," Num. xv. 26. Y mae yr holl wasanaeth yn para am oriau.

Bore dranoeth, sef bore Dydd y Cymod, ant i'r Synagog tua chwech o'r gloch; ac arosant yno drwy'r dydd hyd nes byddo yn nos. Byddai yn rhy faith o lawer i ni geisio adrodd y gwasanaeth, gan ei fod yn para dros ddeuddeg awr. Y prif ranau yw, y *Torah*, yn cynwys Lef. xvi. Y *Maphtir*, yn cynwys Num. xxix. 7—11. Y Prophwydi, yn cynwys Is. lvii, o ad. 14 hyd ddiwedd lviii. Y *Musoph*, yn cynwys amryw o weddiau, &c. Ar ol hyn y mae y *Cohanim*, h. y. y rhai a dybir eu bod o deulu Aaron, yn bendithio y bobl. Y dull y gwneir hyny sydd fel hyn—Dygir dwfr i mewn i'r Synagog mewn piser arian, a chawg arian dano. Yna cymer un y piser yn ei law, a thywallta ddwfr dros ddwylaw pob un o'r *Cohanim*, a rhydd dywel iddynt i'w sychu. Ar ol cyflawni y glanhad yma, ant i fyny at yr arch, a gwisgant eu *Talith* dros eu penau, gan lwyr guddio eu gwynebau—safant yno o flaen yr arch, a'u gwynebau at y gynulleidfa, ac adroddant math o fendith, rhy faith i'w hadrodd yma. Ar ol hyn daw y *Mincha*, yn cynwys, yn nghydag amryw o weddiau, rhan o'r gyfraith, sef Lef. xviii.; a rhan o'r Prophwydi, sef holl lyfr Jonah. Yn olaf daw y *Nengilah*, sef y weddi fawr, fel y crybwyllwyd, sydd yn terfynu y gwasanaeth, ac ar ei hol y mae drws trugaredd a maddeuant yn cau. Y mae y *Chazan* yn awr am oddeutu awr a hanner yn rhoddi holl nerth ei gorff a'i galon ar waith, canys y mae dedwyddwch y gynulleidfa yn dibynu i raddau mawr ar effeithiolrwydd y weddi hon, yna chwythir yn y corn, i arwyddo fod gwasanaeth y dydd ar ben—a therfynir gyda dweyd, "Y flwyddyn nesaf byddwn yn Jerusalem." Ac ar ol ychydig o weddiau cyffredin dychwelant i'w cartrefi.

Y mae yn annichonadwy ffurfio meddylddrych cywir am gyflawniad gwasanaeth y Synagog ar y dyddiau hyn heb ei weled. Y mae y dull y mae y *Chazan* yn darllen y gwasanaeth yn neillduol—weithiau yn darllen, bryd arall yn canu—weithiau yn mwmian yn rhy isel i'w ddeall, bryd arall yn bloeddio â'i holl egni, ac weithiau

mewn tôn wylo ac oernadu. Y mae y gynulleidfa i raddau mawr yn debyg.

Ar Ddydd y Cymod y mae pob Iuddew fo yn meddu y gradd leiaf o deimlad Iuddewig yn myned i'r Synagog —felly y mae lluaws yn y gwasanaeth ar y dydd hwn nad ydynt byth un amser arall yn myned ar gyfer y lle. Y canlyniad yw, y mae y Synagogau yn rhy fychan o lawer i gynal yr addolwyr; ni chaniatair i neb fyned iddynt ond perchenogion eisteddleoedd. I gwrdd â'r diffyg yma, y maent yn trefnu yr ysgoldy Iuddewig yn *Bell Lane* i fod yn Synagog am y gwyliau hyn; ac y mae y lle yn orlawn. Iuddewon tramor yw y mwyafiant; ond y mae yno luaws mawr o Iuddewon Saesonig, rhai nad ydynt yn cymeryd lleoedd yn y Synagogau, nac yn myned yn gyson i'r gwasanaeth. Y mae yno ddwy fil o leiaf yn ymgynull ar Ddydd y Cymod. Nid yw yn gyfreithlawn gwisgo esgidiau, na dim arall, oddi wrth groen y llo; mewn coffâd edifarus, meddant, am y llo aur a addolwyd gan y bobl, Ex. xxxii. Gan hyny y mae y rhan fwyaf yn gwisgo esgidiau brethin neu gyffelyb; ond aiff y rhai nad oes ganddynt esgidiau o'r fath i'r Synagog yn nhraed eu hosanau. Ni chaniatair ychwaith iddynt wisgo modrwyau nac unrhyw addurniadau aur, am mai o'r defnyddiau hyny y gwnaed y llo aur. Fel hyn y mae yr holl gyflawniadau yn gorfforol, ac heb gyfeirio nemawr o ddim at y dyn oddi mewn; gan hyny y mae, fel y gellid dysgwyl, yn dra arwynebol.

Gwyl y Pebyll. Ar y pymthegfed dydd o'r mis y mae *Swcoth*, neu ŵyl y pebyll, yn dechreu, ac yn para am naw diwrnod.

Cedwir yr ŵyl hon mewn coffadwriaeth o fynediad Israel o wlad yr Aipht. Gwel Lef. xxiii. 39—43.

Yn ol y gorchymyn yn adnod 40, parotoant *Ethrog*, *sitron*—*Lwlaf*, cangenau y palmwydd—*Hadosin*, y myrtwydd; a'r *Ngarufoth*, helyg. Rhaid i'r myrtwydd fod yn dair-dalenog. Rhaid i'r Sitron hefyd gael ei farnu a'i gymeradwyo gan y prif Rabbi; yr hyn sydd yn gwneyd y naill a'r llall yn ddrutach na'r rhai cyffredin.

Yn ol adnod 42, dysgwylir i bob teulu fo yn gallu adeiladu bwth, i drigo ynddo am ddyddiau yr ŵyl. Mewn lle fel Llundain, a threfydd mawrion ereill, y mae

hyn yn bur anhawdd, ac yn annichonadwy i'r rhan fwyaf o lawer. Gan hyny, ychydig o fythod, mewn cymhariaeth, sydd yn cael eu gwneyd. Codir o gan rai yn yr ardd; gan ereill, yn y cwrt; gan ereill, yn nen y tŷ, yn ol fel bo y cyfleusdra; ond ni waeth yn mha le, os bydd yn yr awyr agored. Adeiladir o o fyrddau, a thoir o yn unig â changau coed, fel y gellir canfod y ser trwy y top, ac fel bo y gwlaw yn disgyn trwyddo. Addurnir y bwth, yn neillduol y gronglwyd, â blodau, ffrwythau eurawg. &c., yn ol gallu a sel y perchenog. Y rheol ydyw byw yn y bwth yn gyfangwbl dros y dyddiau hyn; ond ar adeg mor oer o'r flwyddyn, nid oes neb yn gwneyd hyny. Y mae y rhan fwyaf sydd yn codi bwth, yn bwyta eu prydiau ynddo, ond yn byw yn eu tai.

Ar brydnawn y pedwarydd dydd ar ddeg, yr un amser ag yr oedd y Sabbath blaenorol yn dyfod i mewn, y mae yr ŵyl yn dechreu. Eir i'r Synagog; ac ar ol y gwasanaeth, yr hwn sydd yn bur debyg i wasanaeth bob hwyr arall, oddi eithr rhai gweddiau penodol i'r ŵyl hon, prysurir adref i ddathlu yr ŵyl. Fel y crybwyllwyd, dysgwylir iddynt fwyta yn y bythod, os bydd ganddynt un. Pa un bynag ai bwth ai tŷ, ar ol myned adref o'r Synagog, eistedda y teulu yn nghyd, ac yna cymer y penteulu wydraid o win yn ei law ddeau, gan ddywedyd y *Cidwsh* neu santeiddiad canlynol:—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, Creawdwr ffrwyth y winwydden.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n dewisodd ni o blith pob pobl ereill, ac a'n dyrchafodd uwch law yr holl genedloedd ereill, ac a'n santeiddiodd a'i orchymynion; ac a ganiataodd i ni, O Arglwydd ein Duw, mewn cariad, ŵyliau arbenig i lawenychu, gyda gwleddoedd ac adeg llonder, gŵyl y tabernacl hon, amser ein llawenydd, cymanfa santaidd, a choffadwriaeth ein mynediad o wlad yr Aipht: canys ti a'n dewisaist ni, ac a'n santeiddiaist ni, ar wahan i bawb ereill; a gwnaethost i ni fwynhau dy dymorau santaidd mewn llawenydd a llonder. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Santeiddydd Israel a'r amseroedd.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y

greadigaeth! yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i fyw mewn bythod.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth! yr hwn a'n cynaliaist ni, ac a'n cedwaist ni i fwynhau y tymor presenol."

Adroddir y fendith o barth byw mewn bythod, wrth bob pryd, tra parhao yr ŵyl. Dywed y Rabbiniaid hefyd y dylid edrych ar y bwth fel y tabernacl gynt yn yr anialwch; gan hyny, fod y bwrdd yn arwyddo yr allor, ac y dylid darllen rhyw gyfran o'r gyfraith sy'n cyfeirio at yr aberthau bob pryd. Hefyd, rhaid i halen fod ar y bwrdd bob tro, mewn cyfeiriad at y gorchymyn yn Lef. ii. 13. Ac hefyd, gan na ddefnyddid na haiarn na dur o gwmpas yr allor, rhaid symud y cyllyll a'r ffyrc cyn dweyd gras ar ol bwyd.

Bore dranoeth eir i'r Synagog tuag hanner awr wedi 8; ac ar ol myned trwy ryw gymaint o'r gwasanaeth, cyn dechreu ar yr *Halel* neu foliannau, y maent yn ymaflyd yn y gwrysg. Y mae pob gwrysgen yn cael ei gwneyd trwy gylymu cainc o'r myrtwydd ac o'r helyg wrth gangen, o gwmpas llathen o hyd, o'r palmwydd. Cymer y darllenydd ei wrysgen yn ei law ddeau, a'r *Sitron* yn ei law chwyth; ac wrth ganu y moliannau, ysgydwa y wrysgen yn ddibaid. Weithiau bydd yn ei phwyntio tua'r dwyrain, yna tua'r gogledd, ac eilwaith tua'r de; a phrydiau ereill cwyd hi tua'r nefoedd. Nid yw yn annhebyg i filwr yn chwareu ei gleddyf. Yr holl amser hyn y mae yn canu y diolchiadau â'i holl egni, ac y mae y donyddiaeth a ddefnyddir ar yr achlysur yn un o'r rhai mwyaf dymunol a berthyn i'r Synagog. Y mae gan amryw o'r aelodau wrysg yn eu dwylaw; ac yn achlysurol, yn ol fel bo y gwasanaeth yn gofyn, y maent yn eu hysgwyd, a'r gynulleidfa yn cydateb y darllenydd. Wrth gymeryd y gwrysg yn eu dwylaw, dywedant, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i wneyd Cainc y Balmwydden.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n cynaliaist ni, ac a'n cedwaist ni i fwynhau y tymor hwn."

Ar ol darllen rhan o'r gyfraith, Lef. xvii. 21 hyd ddi-

wedd pen. xxiii, a *Maphtir*, Num. xxix. 12—16, a'r prophwydi, *Zech.* xiv, dychwelir y rhol i'r arch, a darllenir *Mwsoph.* Cyn diwedd y darlleniad yma, cymerir rhol o'r gyfraith o'r arch, ac eir â fo i'r ddarllenfa; yna ymffurfia swyddogion y Synagog, yn nghyda rhyw nifer o'r aelodau, yn orymdaith; carir y gyfraith gan un o gwmpas y ddarllenfa, a chanlyna y personau uchod ar ei hol yn orymdaith reolaidd, pob un â'i wrysgen yn ei law, gan ddweyd *Hosannah.* Yna dychwelir y gyfraith i'r arch; ac ar ol ychydig weddiau yn mhellach, y mae y gwasanaeth ar ben.

Ar ol dychwelyd adref, ac eistedd at ginio, dywed y pen-teulu y santeiddiad canlynol:—

"Ac hysbysodd Moses i feibion Israel holl ŵyliau yr Arglwydd."

Eir i'r Synagog yn y prydnawn, fel ar y Sabbath; ond nid oes dim penodol yn y gwasanaeth. Y mae gwasanaeth yr hwyr yn agos yr un peth ag un yr hwyr blaenorol. Felly hefyd y mae gwasanaeth y dydd canlynol—y mae defodau y ddau yn gyffelyb, oddieithr yn unig y gyfran a ddarllenir o'r prophwydi. Ar yr ail ddydd darllenir 1 Bren. viii. 2—21.

Cedwir y ddau ddydd cyntaf yma o'r ŵyl yn dra chysegredig; am hyny fe'u gelwir yn *Micraei Codesh*, cymanfaoedd santaidd.

Chol Hamonged. Gelwir y pum diwrnod canlynol, sef o'r trydydd hyd y seithfed o'r ŵyl, yn *Chol Hamonged*, neu ddyddiau cyffredin yr ŵyl; am y gellir canlyn masnach, gweithio, a gwneyd pob gorchwyl angenrheidiol arnynt. Y mae y gwasanaeth yn y bore am y dyddiau hyn yn lled debyg i'r hyn ydyw y ddeuddydd cyntaf. Y mae y gwasanaeth yn y prydnawn yn debyg i ddyddiau cyffredin.

Hoshangna Rabba. Cedwir y pummed o'r dyddiau hyn—h. y. y pummed o'r *Chol Hamonged*, sef y seithfed o'r ŵyl, yn wahanol i'r lleill; am hyny gelwir o *Hoshangna Rabba;* hyny yw, Hosanna Mawr. Y mae gan bob un frigyn o'r helyg. Rhaid iddo fod yn helyg oddiar lan dwfr rhedegog. Y mae awdurdodau y gwahanol Synagogau yn gofalu fod digon yw cael ei barotoi; a rhaid i bob penteulu bwrcasu digon, fel y gallo pob aelod o'r teulu gael tusw cyfartal. Rhaid i bob tusw gynwys pum

brigyn, a saith ddalen ar bob brigyn. Rhwymir y brigyn hyn yn nghyd â rhisgl y balmwydden. Yna y mae pob un, bach a mawr, gwrryw a benyw, yn myned â hwy i'r Synagog yn eu dwylo; ac ar ol y gweddiau y mae pob un yn taro y dail i ffwrdd: ac os ant yn rhwydd, y mae hyny yn arwydd dda fod eu pechodau wedi eu maddeu; ond os nad ant, y mae yn arwydd ddrwg. Y dyb gyffredin yw fod tynged y cyfryw un yn cymeryd lle y nos ganlynol. Gan hyny y mae y rhai mwyaf crefyddol yn treulio y noswaith hono i ddarllen trwy lyfr Deuteronomium a thrwy'r Salmau; yn nghyda gweddiau penodol i'r achlysur. Yn ngweddiau y dydd defnyddir y gair Hosanna mewn dull o orfoledd.

Yn ngwasanaeth y bore, cymerir saith rhol o'r gyfraith allan o'r arch, a charir hwynt yn orymdaith, gan bersonau dewisedig, saith waith o gwmpas y ddarllenfa. Wrth gerdded fel hyn oddeutu, arweinir yr orymdaith gan y darllenydd, dan gario un o'r rholiau yn ei freichiau, a chanu y gwasanaeth priodol i'r achlysur. Y mae y gwasanaeth yn terfynu yn fuan wedi'n; ac ar ol gwasanaeth y prydnawn, y mae gwyl briodol y Tabernacl yn terfynu; ac o ganlyniad y maent yn rhoddi heibio y balmwydden, &c., yn nghyda'r bythod.

SHEMINI NGATSERETH. Cedwir yr wythfed dydd mor fanwl a'r ddeuddydd cyntaf; am hyny, gelwir o *Shemini Ngatsereth;* hyny yw, wythfed y gymanfa. Er fod y naw diwrnod yn myned dan yr enw cyffredin o Wyl y Tabernacl, eto yn briodol y mae yr wythfed dydd yn wyl wahanol, sef Uchel wyl, Num. xxix. 35. Y mae yn dechreu yn hwyr y seithfed dydd, ac yn terfynu gyda hwyr yr wythfed. Nid oes dim neillduol yn y gwasanaeth oddi eithr fod y *Cohanim* yn bendithio y gynulleidfa, a bod cyfeiriad penodol yn y gweddiau am wlaw i ffrwythloni y ddaear. Y rhanau o'r ysgrythyrau a ddarllenir yw y rhai canlynol—y gyfraith, Deut. xiv. ad. 22 hyd xv. ad. 18—*Maphtir*, Num. xxix. 35—40; a'r Prophwydi, 1 Bren. viii. 54. hyd ix. 1.

SIMCHATH TORAH. Gelwir y nawfed diwrnod, sef yr olaf, yn *Simchath Torah*, neu Lawenydd y Gyfraith. Dywedwyd mewn pennod o'r blaen, fod y gyfraith neu Bum Llyfr Moses yn cael eu dosparthu yn rhanau penodol, a bod rhan yn cael ei darllen bob Sabbath, &c.;

ond darllenir y rhan olaf a'r rhan gyntaf ar y dydd hwn, sef y dydd olaf o ŵyl y Tabernael. Y mae hon, mewn gwirionedd, yn ŵyl ar ei phen ei hun, o wneuthuriad y Rabbiniaid, i lawenhau am gael darllen trwy y gyfraith, a'i hail gychwyn yn yr un gwasanaeth. Dewisir dau ŵr anrhydeddus ar yr achlysur i ddarllen y gyfraith iddynt, canys y mae hyny ar yr adeg yma yn fraint oruchel iawn. Gelwir yr un sydd i sefyll i wrando darlleniad y dosparth olaf yn *Chathan Torah*, neu briodfab y gyfraith; a'r un sydd i wrando y dosparth cyntaf, yn *Chathan Berishith,** neu briodfab y dechreuad.

Y mae yr ŵyl yn dechreu ar hwyr y seithfed dydd. Ar ol myned i'r Synagog, ac i'r darllenydd ganu y rhan fwyaf o'r gwasanaeth, gelwir enwau saith o leiaf o wŷr dewisedig, o un i un, i fyned at yr arch; a rhoddir rhol o'r gyfraith i bob un—cariant hi yn eu breichiau yn orymdaith o gwmpas y ddarllenfa saith o weithiau. Y cyntaf yw y darllenydd; ac wrth gerdded y mae yn canu y gwasanaeth neu gyfansoddiad, rhy faith i'w adrodd yma. Dysgwylir iddo ei ganu fel bo y canu a'r gorymdeithio yn cyd-ddarfod. Y mae yn dygwydd weithiau, serch hyny, fod y gân yn darfod cyn y cerdded, yr hyn sydd yn wall mawr yn ngolwg y gynulleidfa. Ar ol ychydig o weddiau yn mhellach, y mae y gwasanaeth ar ben.

Bore dranoeth eir i'r Synagog; ac ar ol myned dros nifer o weddiau yn cyfeirio yn benaf at amgylchiadau y dydd, ac yn cynwys bendithion i'r hwn fo yn myfyrio yn y gyfraith, ffurfir gorymdaith fel ar yr hwyr blaenorol. Rhaid i saith o roliau o'r gyfraith gael eu cario, ond bob amser braidd y mae mwy na hyny. Yr arfer yw cario cynifer ag a fyddo yn yr arch, pe byddai hyny yn hanner cant: ac yn fynych, y mae personau yn myned â'u rholiau eu hunain o'u cartrefi i'w cario. Eir saith waith o gwmpas y ddarllenfa, fel yr hwyr blaenorol. Eir saith waith, a dim ond hyny, mewn coffadwriaeth am amgylchu caerau Jericho.

Darllenir y rhan olaf o'r gyfraith i'r *Chathan Torah*—y mae yn cynwys y ddwy bennod olaf yn Deuteronomium. Yna darllenir y rhan gyntaf i'r *Chathan*

* *Bereshith*, yw enw y rhan neu *Sederah* gyntaf o'r gyfraith.

*Berishith:* y mae yn cynwys Gen. i. hyd ii. 3. Wedi'n darllenir y *Maphtir*, Num. xxix. 35—y Prophwydi, Josua i; a'r *Mwsaph*, fel ar y dydd blaenorol. Nid oes dim neillduol yn ngwasanaeth y prydnawn a'r hwyr yn gofyn ein sylw. Pan bo ser y nawfed dydd yn dyfod i'r golwg, y mae yr ŵyl ar ben.

Cedwir y ddeuddydd olaf mor gysegredig a'r ddeuddydd cyntaf—ni wneir dim gwaith ond gorchwylion nad ellir yn iawn beidio. Treulir yr olaf yn neillduol yn ddydd gwledd a llawenydd. Y dyb yw y dylid bwyta ac yfed yn y dull mwyaf moethus ag y gellir, o anrhydedd i'r gyfraith. Y mae y ddau *Chathan* yn gwneyd gwleddoedd gwych ar yr achlysur, ac yn gwahodd blaenoriaid y Synagog a'u cyfeillion penaf iddi. Y mae eu gwragedd hefyd, y rhai a ystyrir ar y pryd yn ddwy briodferch y gyfraith, yn rhanu cacenau, gwin, &c. Yn wir, y mae pob teulu a pherson yn gwario yn helaeth, a llawer un yn helaethach nag y gall, ar *Simchath Torah*. Mewn gwirionedd, y mae yr holl ŵyl yn adeg o wledda; ac y mae yr Iuddew yn ymollwng mwy mewn bwyta, ac yn neillduol mewn yfed, ar yr adeg yma, nag un amser o'r flwyddyn.

CHESHFAN.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r 13 o fis Hydref, ac yn terfynu tua'r 12 o Dachwedd. Yr unig ddefodau a gedwir ynddo yw tair ympryd, a elwir

SHENI, CHAMISHI, FE-SHENI; hyny yw, yr ail, y pummed, a'r ail. Gelwir hwy felly am eu bod yn cael eu cynal ar ddydd Llun, a dydd Iau, a'r dydd Llun canlynol, sef yr ail ddydd, a'r pummed dydd, a'r ail ddydd drachefn, o'r wythnos. Y maent yn disgyn ar y 19, 22, a'r 26 o'r mis. Dyben yr ymprydiau yma, meddant, yw ymostwng ger bron y Goruchaf am unrhyw droseddau y buont yn euog o honynt mewn bwyta ac yfed ar y gwyliau blaenorol. Ar y Sabbath cyn y 19 o'r mis, hysbysa y darllenydd yn y Synagog fod yr ymprydiau yn dygwydd y dydd Llun a'r dydd Iau canlynol, a'r dydd Llun yn mhen yr wythnos. Ar y dyddiau hyny darllenir y *Selichoth*, neu weddiau cymodol, yn rhan o'r gwasanaeth. Y maent yn rhy faith o lawer i'w cofnodi yma. Eu hamcan, sut bynag, yw cydnabod eu ffolineb mawr a'u troseddau, gan ddadleu trugaredd er mwyn

eu tadau, &c, ac erfyniant am gyfryngdod yr angylion da hyny sydd yn cario rhinweddau cenedl Israel ger bron Duw.

CISLEF.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua y 13 o Dachwedd, ac yn terfynu oddeutu y 12 o Ragfyr.

CHANWCAH. Yr unig ŵyl a gedwir yn y mis hwn ydyw gwyl *Chanwcah*, neu y cysegriad. Achlysur sefydliad yr ŵyl oedd hyn:—Yn amser y Maccabeaid, pan y gorchfygwyd Antiochus Epiphanus gan Mattathias a'i feibion, yr oedd y gorthrymwr creulawn wedi halogi y deml fel yr oedd yn angenrheidiol ei hail-gysegru. Ar ol gwneyd hyny fe gafwyd nad oedd dim digon o olew cysegredig i losgi yn y *Menorah*, neu ganwyllbren aur, dros fwy na diwrnod; ac nad allid pwrcasu ychwaneg am wyth niwrnod. Yn y cyfyngder hwn dywedir wrthym fod y Goruchaf wedi bendithio yr ychydig olew fel y parhaodd dros wyth niwrnod, nes bod ganddynt ddigon. Felly sefydlwyd yr ŵyl hon er coffadwriaeth am y fuddugoliaeth a gafwyd ar Antiochus; a chedwir hi am wyth niwrnod er cadw gwyrth yr olew mewn cof.

Y ddefod sydd yn nglŷn â'r ŵyl hon yw cyflawni goleuni y *Chanwcah*. Y goleuni mwyaf priodol yw lamp âg olew yr olewydden; ond canwyllau cwyr a ddefnyddir yn gyffredin. Y mae yr ŵyl yn dechreu ar y 25 dydd. Ar hwyr y 24, cyn goleuo y ganwyll, adrodda y pen-teulu y fendith ganlynol:—

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a orchymynaist i ni oleuo goleuni y cysegriad.

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a wnaethost wyrthiau i'n tadau yn y dyddiau hyny, ac yn y tymor hwn.

Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n cynaliaist ni, ac a'n cedwaist ni hyd y tymor hwn."*

Ar ol hyn, goleuir y ganwyll, ac yna adroddir y cyflwyniad canlynol:—

"Yr ydym yn goleuo y goleuadau hyn i'th fendithio

* Ni adroddir y fendith olaf hon ond ar noswaith gyntaf yr ŵyl.

di am y gwyrthiau, rhyfeddodau, iachawdwriaeth, a buddugoliaethau a wnaethost ti i'n tadau yn y dyddiau hyny, ac yn y tymor hwn, trwy ddwylaw dy offeiriaid santaidd. Gan hyny, y mae y goleuadau hyn yn santaidd dros wyth niwrnod y cysegriad, ac ni chaniatair i ni wneyd unrhyw ddefnydd o honynt, heblaw edrych arnynt fel y bo i ni ddychwelyd diolch i dy enw di am dy wyrthiau, dy weithredoedd rhyfedd, a'th iachawdwriaeth."

Ar yr ail noswaith goleuir dwy, ar y drydedd tair; ac felly yn y blaen hyd yr wythfed noswaith, pryd y goleuir wyth. Y mae y gwasanaeth cyhoeddus yr un peth ag ar ddyddiau ereill, oddi eithr ychydig o chwanegiadau nad yw yn wiw eu henwi.

### Tefeth.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r deuddegfed o Ragfyr, ac yn terfynu tua'r degfed o Ionawr.

Ngeserah Batefeth. Cedwir y degfed dydd o'r mis hwn yn ympryd, yr hwn a elwir *Ngeserah Batefeth*, hyny yw, y degfed o Tefeth. Cedwir yr ympryd yma mewn coffadwriaeth o ddinystr Jerusalem gan Nebuchodonozer, gan mai ar y degfed o'r mis hwn y dechreuodd o warchadw y ddinas, Jer. xxix. 1, Zech. viii. 19. Edrychir ar y tro hwnw fel dechreuad gofidiau y genedl—fel agoriad drws i genllif o drueni a ddaeth drostynt wedi'n o oes i oes; gan hyny, cedwir yr ympryd yma yn fanwl. Nid oes dim neillduol yn eu defodau ar y pryd, nac yn eu gwasanaeth cyhoeddus, oddi eithr chwanegiad *Selichoth*, neu weddiau ymostyngol ac edifeiriol, pwrpasol i'r achlysur.

### Shefat.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r degfed dydd o fis Ionawr, ac yn terfynu tua'r wythfed o Chwefror.

Rosh Hashanah Sailanoth. Ar y pymthegfed dydd o'r mis hwn cynelir gwyl y *Rosh Hashanah Sailanoth*, hyny yw, dechreuad blwyddyn y coed. Edrychir ar y dydd hwn fel y diwrnod y mae y coed yn dechreu gwreiddio a thyfu. Gan hyny, y mae yn rheol gan y rhai mwyaf crefyddol fyned allan ar hwyr y pedwarydd dydd ar ddeg i gasglu amryw ffrwythoedd, ac adrodd bendithion uwch eu pen. Y mae rhai hefyd yn dal fod

yr ŵyl hon yn coffau yr amgylchiad a gyfeirir ato yn llyfr y Barnwyr, xxi. Yr enw mwyaf cyffredin ar yr ŵyl hon yw *Chamishah Ngazar*, hyny yw, pymthegfed, am mai ar y pymthegfed dydd y cynalir hi.

## ADAR.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r nawfed o Chwefror, ac yn terfynu tua'r degfed o Fawrth.

TANGANITH ESTHER. Gelwir y trydydd dydd ar ddeg o'r mis hwn *Tanganith Esther*, neu ympryd Esther; coffad o'r ympryd a osododd Esther cyn ymddangos ger bron Ahasferus y brenin ar ran ei chenedl, Esther iv. 16. Darllenir gweddiau edifeiriol, wedi eu llunio ar gyfer yr ympryd hwn.

PURIM. Ar y pedwarydd dydd ar ddeg o'r mis cynelir gwyl y *Purim*, fel y sonir yn llyfr Esther, ix. Ar hwyr y trydydd dydd ar ddeg eir i'r Synagog; ac ar ol darllen y gwasanaeth arferol, darllenir trwy lyfr Esther. Rhaid iddo fod yn ysgrifenedig ar femrwn, ac yn rol ar ei ben ei hun—h. y. heb ddim ar y memrwn ond llyfr Esther; o ba herwydd y gelwir o yn *Megilah*, rhol; a'i ddarlleniad yn darllen y *Megilah*. Cyn i'r *Chazan* dechreu ei ddarllen, dywed, "Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i ddarllen y *Megilah*. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, yr hwn a wnaethost wyrthiau i'n tadau y pryd hyny." Bob tro yr enwir Haman, y mae y gynulleidfa yn taro y llawr â'u traed gan ddywedyd, "Dileer ei enw o fod. Bydded i enw y drygionus bydru." Y mae y plant hefyd yn taro y llawr neu y pared â morthwyl bychan pren, a barotoir iddynt gan eu rhieni. Gwneir hyn nid yn unig o ddirmyg i Haman am y drwg a gynlluniodd yn erbyn yr Iuddewon, ond hefyd, gan ei fod o hiliogaeth Amalec, i goffau y dylid llwyr ddinystrio y teulu hwnw. Darllenir enwau Haman a'i feibion gyda chyflymder mawr, ac ar yr un anadl, i arwyddo eu bod oll wedi eu crogi a threngu ar yr un pryd. Yn y rhan fwyaf o'r *Megilah*, ysgrifenir hwy dan eu gilydd, heb ddim arall ar y llinellau, i ddangos fel y crogwyd hwynt, y naill dan y llall, ar y pren o ddeg cufydd a deugain o uchder. Ar ol darllen trwy

y *Megilah* ac ychydig o weddiau, y mae y gwasanaeth ar ben. Bore dranoeth hefyd darllenir y *Megilah* fel chwanegiad at y gwasanaeth arferol; ac hefyd *Persha* o'r gyfraith, sef Ex. xvii. 8—16, am ei fod yn cyfeirio at ddinystr Amalec.

Cedwir gwyl y *Purim*, mewn modd arbenig, yn amser o wledd a llawenydd. Anfonant roddion hefyd yn helaeth y naill i'r llall ar y pryd. Yn wir, y mae pawb, y tlotaf fel y cyfoethocaf, yn teimlo dyledswydd arno ar ŵyl y *Purim*, nid yn unig gwneyd ei deulu ei hun yn llawen, ond hefyd llawenhau calon ei gymydog trwy anfon rhyw beth iddo yntau. Felly, y mae y teulu cyfoethog yn derbyn anrheg fechan y teulu tlawd, yn gystal ag anfon rhoddion haelionus iddo. Y mae pawb yn llawen; a dywed eu hen athrawon y dylai pob dyn yfed y pryd hyn i'r graddau nad allai wahaniaethu rhwng, "Bendigedig fyddo Mordecai, a melldigedig fyddo Haman."

## NISAN.

Y mis hwn yw y seithfed mis yn y flwyddyn gyffredin, ond y cyntaf o'r flwyddyn eglwysig. Cyfrifir o felly, am mai yn y mis yma y cafodd yr Iuddewon eu gwaredu o wlad yr Aipht; gan hyny, cedwir gwyliau y mis hwn, sef gwyl y Pasg, gyda'r gofal mwyaf.

SHABBATH HAGADOL. Gelwir y Sabbath o flaen y Pasg yn *Shabbath Hagadol,* neu Sabbath Mawr, am mai ar y dydd hwnw y gorchymynodd yr Arglwydd i'r Israeliaid barotoi bawb ei oen, Ex. xii. Ac hefyd, am mai ar y dydd hwn y mae y Rabbi yn egluro defodau y Pasg yn y Synagog.

Y PASG. Yn y mis hwn y mae gwyl fawr y Pasg yn dygwydd. Y mae y gair yn tarddu o'r gair Hebreig *Pasach,* myned heibio; mewn cyfeiriad i'r angel dinystriol yn myned heibio i dai yr Israeliaid pan yn lladd yr Aiphtiaid. Cedwir yr wyl mewn coffadwriaeth o waredigaeth Israel o'r Aipht (Ex. xii); ac y mae yn un o'r gwyliau mwyaf pwysig yn y *calender* Iuddewig.

NGEREF PESACH. Gelwir y trydydd dydd ar ddeg o'r mis yn *Ngeref Pesach,* hwyr y Pasg; a threulir o fel darparwyl. Nid oes dim sur neu lefeinllyd i fod yn eu trigfanau trwy ddyddiau yr ŵyl. Gan hyny, y mae yn

ddyledswydd ar bob pen-teulu ar hwyr y 13 dydd, chwilio yn fanwl am bob tamaid o fara cyffredin er mwyn ei daflyd allan. Rhaid gwneyd hyny ar y ddarparwyl. I'r dyben yma, goleuir canwyll fechan gwyr, a chymer yntau fasged fechan yn un law, a llwy bren yn y law arall, a chyn dechreu ar ei orchwyl dywed y fendith ganlynol,—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i symud y lefain." Ar ol adrodd hyna, chwilia bob man lle mae bara yn arfer bod, neu yn debyg o fod. Rhaid iddo fod yn ofalus iawn rhag dweyd gair ar ol adrodd y fendith uchod, nes gorphen ei orchwyl. Ar ol cwblhau ei ymchwiliad, dywed y fendith hon—"Pob math o lefain a all fod yn fy meddiant, ond heb ei weled a'i symud, bydded yn ddiddim, ac fel llwch y ddaear." Ar ol hyn rhoir y tameidiau bara, yn nghyda'r ganwyll a'r llwy, mewn darn o liain, a rhwymir nhw yn ofalus hyd fore dranoeth. Yna, tua deg o'r gloch bore dranoeth, symudir pob defnydd eplesiedig, a thaflir y lliain a'i gynwysiad i'r tân, pryd y dywed y pen-teulu, "Pob math o lefain all fod yn fy meddiant, yr hwn welais a'r hwn nis gwelais, yr hwn a symudais a'r hwn ni symudais, a gaiff fod yn ddiddim, a'i gyfrif fel llwch y ddaear." Ac os bydd y pen-teulu oddi cartref ar y pryd, er i un o'r teulu wneyd hyn drosto, rhaid iddo adrodd y diddymiad olaf lle bynag y byddo. Rhaid rhoi heibio hefyd yr holl lestri a ddefnyddir gyda bwydydd eplesiedig, a defnyddio llestri glân. Cedwir y rhai'n, yn gyffredin, ar wahan i'r llestri a ddefnyddir trwy y flwyddyn, er mwyn eu defnyddio yn unig ar ŵyl y Pasg. Fel hyn, nid oes dim lefeinllyd neu eplesiedig yn dyfod ar gyfer tra parhao yr ŵyl.

Y bara a ddefnyddir ydyw math o deisenau cri, heb nac eples na halen. Y maent yn lled debyg yr olwg i fara ceirch, a wneir yn fynych yn Nghymru. Eu henw yw *Matsoth*, a gelwir yr ŵyl yn *Chag Hamatsoth*, neu ŵyl y teisenau dilefeinllyd. Rhaid eu gwneyd gan Iuddew, neu dan arolygiad Iuddew. Y mae *cwmni* Iuddewig yn awr yn eu gwneyd â pheiriant pwrpasol; a chyflenwir anghenion y cyfundeb gan y *cwmni* hwn. Y mae pob Iuddew a theulu fo yn rhy dlawd i'w prynu,

yn cael digon am ddim tros yr ŵyl gan swyddogion y Synagogau.

Nid yw yn gyfreithlawn, chwaith, iddynt yfed diodydd eplesiedig neu wirfol o un math; gan hyny, yr unig ddiod a ddefnyddir, heblaw dŵr, yw math o win a wneir gan bob teulu o *resin*, fel y soniwyd wrth egluro defodau y Sabbath.

Ar y pedwarydd dydd ar ddeg, sef y dydd cyntaf o'r ŵyl, y mae pob cyntafanedig yn ymprydio, er cadw mewn cof y modd y cadwyd cyntafanedigion Israel, pan y dinystriwyd rhai yr Aiphtiaid. Os na fydd y cyntafanedig yn unarddeg oed, rhaid i'w dad ymprydio yn ei le; ond os bydd ei dad medi marw, disgyn hyny ar ei fam.

Gyda machlud haul y trydydd dydd ar ddeg, y mae y ddarparwyl ar ben; ac y mae yr ŵyl yn dyfod i mewn. Gelwir y noswaith hono, *Leil Shemworim*, h. y. noswaith coffadwriaeth. Ar ol dychwelyd adref o'r Synagog, tuag wyth o'r gloch, y mae y bwrdd wedi ei daenu, a phob peth yn barod i gyflawni defodau yr ŵyl.

Y mae y bwrdd wedi ei orchuddio â lliain gwyn a glân. Ar y canol, y mae dysgl, wedi ei chuddio â napcyn. Ar y napcyn yma y mae un o deisenau y Pasg. Ac yma rhaid i ni roddi gair o eglurhâd ar y teisenau hyn. Y maent yn fwy na'r rhai a ddefnyddir yn gyffredin ar yr ŵyl. Y mae tri rhinc yn y gyntaf, ac yn arwyddo Israeliad. Y mae dau rinc yn yr ail, ac yn arwyddo Lefiad. Y mae un rhinc yn y drydedd, ac yn arwyddo Offeiriad. Y mae un arall wrth law, a elwir *Saphec*, amheuus, i'w defnyddio os dygwydd i un o'r tair dori. Yn awr, ar y napcyn rhoddir yr Israeliad. Cuddir hon â napcyn arall, a rhoddir y Lefiad ar hwn drachefn. Yna rhoddir napcyn eilwaith ar hon; a thrachefn rhoddir yr offeiriad ar y napcyn. Yn olaf, cuddir y cwbl â napcyn arall. Ar ddysgl arall y mae ber yspawd oen, âg ychydig o gig arno, a hwnw wedi ei gras-bobi ar y tân; ac ŵy, wedi ei bobi yn galed yn y lludw. Y mae y ber yn arwyddo y cig fwytawyd wrth gychwyn o'r Aipht; a'r ŵy caled yn adgoffau fod yr oen i fod yn berffaith ac yn gyfangwbl. Mewn llestr arall y mae ychydig o *letis* a *selery*, i adgoffau y dail surion oedd i'w bwyta gyda'r oen. Y mae yno hefyd gwpanaid o ddŵr hallt, i adgoffau y mynediad trwy y

môr coch; yn nghyda chymysgedd o almonau ac o afalau, wedi ei wneyd yn ddwy bellen tua maint ŵy colomen, yn arwydd o'u llafurwaith gyda'r priddfeini.

Y mae holl aelodau y teulu yn awr yn eistedd wrth y bwrdd, y gwasanaethwr gwaelaf yr un fath a'i feistr; y maent oll yn cydeistedd i goffau iddynt eu bod *oll* fel eu gilydd yn nghaethiwed yr Aipht. Y mae gwydraid o win y Pasg o flaen pob un; a rhaid i bob un yfed pedwar gwydraid y noswaith hono. Gelwir hyn yn *Arbang Cosoth*, y pedwar cwpan, i adgoffa, meddant, y pedwar ymadrodd a ddefnyddiwyd yn amser eu gwaredigaeth—sef, "Myfi a'ch dygaf—ac a'ch rhyddhâf—ac a'ch gwaredaf—a'ch cymeraf." (Ex. vi. 6, 7). Y mae gwydraid chwanegol o win ar y bwrdd, er mwyn y Prophwyd Elias, yr hwn a ddysgwylir at y bwrdd yn ystod yr hwyr. Yna y mae y penteulu yn adrodd y *Cidwsh* neu santeiddiad canlynol—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, Creawdwr ffrwyth y winwydden.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n dewisaist ni o blith yr holl bobl, ac a'n dyrchafaist ni uwchlaw yr holl genedloedd, ac a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion; ac mewn cariad a roddaist i ni, O Arglwydd ein Duw, ddyddiau arbenig yn wyliau llawen, ac yn amseroedd llonder, y dydd hwn o ŵyl y teisenau dilefeinllyd, tymor ein rhyddhad—cymanfa santaidd—coffadwriaeth ein mynediad o'r Aipht: canys ti a'n dewisaist ac a'n santeiddiaist ni uwchlaw pob cenedl: ac a beraist i ni fwynhau dy wyliau santaidd mewn llawenydd a llonder. Bendigedig wyt ti, O Arglwydd! Santeiddydd Israel a'r tymorau.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd, ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n cedwaist ni yn fyw, ac a'n cynaliaist ni, ac a'n dygaist ni i fwynhau y tymor hwn." Yna yfant y gwydraid, gan ledorwedd ar y fraich chwith; ac ar ol hyny golchant eu dwylaw, ond heb adrodd y fendith arferol.

Yn nesaf cymer y pen-teulu ychydig o'r *letis*, gan ei wlychu yn y dŵr hallt. Ar ol ei ranu i bawb fo wrth y bwrdd, bwytânt o, ar ol cyd-adrodd y fendith hon—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, Creawdwr ffrwyth y ddaear."

Yna tyr y pen-teulu y deisen ganol — gadawa un darn o honi yn ei lle, a rhydd y llall heibio dan ar ol swper.

Ar ol hyn fe gymer afael yn asgwrn yr oen, ac yn yr wy, gan eu dyrchafu oddi ar y ddysgl; ac ymafla pawb fo wrth y bwrdd yn y ddysgl, gan ddywedyd—"Wele dyma fara gofid a fwytaodd ein henafiaid yn ngwlad yr Aipht: pawb sydd arnynt newyn, deuent, a bwytaent; a phob un sydd mewn eisiau, deued, a mawryged y Pasg. Yn awr yr ydym yn ei fawrygu yma, ond y flwyddyn nesaf yn ngwlad Israel. Yn awr yr ydym yn weision, ond y flwyddyn nesaf yn feibion rhyddid."

Llenwir, yn awr, yr ail wydraid, pryd y mae yr ieuangaf wrth y bwrdd (ar ol ei addysgu yn mlaen llaw) yn gofyn amryw o gwestiwnau yn nghylch y ddefod—a'r gwahaniaeth sy rhyngddynt wrth y bwrdd a nosweithiau ereill. Ar ol iddo orphen ei ofynion, y mae y *cwmni* yn ateb. Y mae hwn yn lled faith, o'r ysgrythyr yn benaf, ond yn gymysgedig âg amryw o ymadroddion Rabbinaidd. Y mae y pen teulu yn dyrchafu y gwydraid, ac yn adrodd hanes yr amgylchiad. Y mae hwn wedi ei seilio yn benaf ar yr hanes ysgrythyrol; ond y mae rhesymau plentynaidd y Rabbiniaid yn cael eu hadrodd hefyd, yn neillduol o barth gwyrthiau yr Aipht. Y mae y rhan yma o'r gwasanaeth yn bur faith.

Ar ol gorphen hyn, ymafla yn y deisen fo yn y ddysgl, gan ei dangos i'r gwyddfodolion, fel arwydd o'u rhyddhad. Adrodda hanes byr o hyny. Ymafla drachefn yn y *letis*, neu ruddygl y meirch (*horse-raddish*), gan ei ddangos i'r gwyddfodolion fel arwydd o'u caethiwed. Adrodda eglurhad byr ar hyn hefyd. Wedi'n, ymafla yn y gwydraid gwin, gan adrodd yr hanes mewn ffordd o ddiolchgarwch i'r Arglwydd am ei waredigaeth. Ar ol hyn, yfir y gwin, a gylch pob un ei ddwylaw, gan adrodd y fendith arferol.

Ar ol cyrhaedd hyd yma yn y ddefod, fe gymer y penteulu y ddwy deisen gyfan, yn nghyda'r darn a adawodd ar y ddysgl, gan dori yr un uchaf. Tyr hefyd y darn a nodwyd. Rhydd damaid o'r ddwy i bob un wrth y bwrdd; ond cyn eu bwyta, dywedant y bendithion canlynol—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw,

Brenin y greadigaeth, yr hwn sydd yn dwyn bara allan o'r ddaear.

"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i fwyta teisenau dilefeinllyd."

Y mae y pen-teulu yn awr yn cymeryd y llysiau a enwyd, ac yn eu gwlychu yn y cymysgedd o almonau, afalau, &c., fel y nodwyd, gan ddywedyd y fendith hon —"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a'n gorchymynaist ni i fwyta llysiau sur." Yna bwyty y tusw fo yn ei law. Rhydd dusw i bob un fo wrth y bwrdd, yr un modd; ac ar ol iddynt adrodd yr un fendith, bwytant o.

Ar ol hyn, fe gymer y pen-teulu y drydedd deisen, h.y. yr isaf, gan ei thori; a chymer damaid o honi, yn nghyda thusw o'r llysiau surion, gan eu bwyta. Wrth wneyd hyny, adrodda chwedl am Hilel, un o'u hen Rabbiniaid ychydig cyn amser ein Ceidwad.

Y mae y rhan flaenaf o'r ddefod yn awr ar ben—y gorchwyl nesaf yw swpera. Ar ol swper, y mae y penteulu yn cymeryd y darn teisen a roddodd o'r neilldu, ac yn ei thori, ac yn rhoddi tamaid i bob un. Y mae hefyd yn llenwi y gwydrau â gwin y drydedd waith; ac ar ol adrodd y fendith arferol ar ol bwyd, bwytant y tamaid teisen, ac yfant y gwin.

Y mae pawb yn awr mewn dystawrwydd, yn dysgwyl y prophwyd Elias i mewn. Edrychant arno fel rhagredegwr y Messiah, ac o ganlyniad fel arwydd a sicrwydd o'u hadferiad i'w rhyddid a'u gwlad. Agorir y drysau i'w dderbyn i mewn, ac adroddir y gweddiau canlynol, gyda golwg ar eu goruchafiaeth ar eu holl elynion—"Tywallt dy lid ar y Cenedloedd ni'th adnabuant, ac ar y teyrnasoedd ni alwasant ar dy enw; canys ysasant Jacob, ac a wnaethant ei breswylfa yn anghyfannedd.* Tywallt dy ddigofaint arnynt, a gorchfyga hwynt â'th lidiawgrwydd. Erlid hwynt â digofaint, a dyfetha hwynt oddi tan nefoedd yr Arglwydd."†

* Salm lxxix. 6, 7. † Gal. iii. 66.

Ar ol dysgwyl Elias, ond yn ofer, llenwir y pedwarydd gwydraid. Yna adroddir yr *Halel*, math o ddiolchgarwch, cynwysedig mewn detholiad o'r Salmau, a rhanau ereill o'r ysgrythyrau, yn nghyda darnau o waith eu Rabbiniaid eu hunain. Y mae y gyfran yma o'r gwasanaeth yn rhy faith o lawer i ni ei adrodd yma; cynwysa, sut bynag, amryw o erfynion o barth eu dychweliad i'w gwlad, megys, "Yn y flwyddyn ddyfodol dwg ni i Jerusalem." Yna yfir y gwydraid olaf, dan ledorwedd ar y fraich chwith; ac adroddir y fendith arferol ar ol y gwin. Y mae y defodau yn awr ar ben, ac nid yw yn gyfreithlawn bwyta tamaid drachefn y noswaith hono, nac yfed dim, oddi eithr dŵr, te, neu goffi.

Y mae yn annichonadwy i'r darllenydd ffurfio un dychymyg am y gorlawenydd sydd yn llenwi calon yr Iuddew tra yn cyflawni y defodau hyn. Y mae pob un—yr hen a'r ieuanc, y tlawd a'r cyfoethog, yn berffaith ddedwydd; ac yn teimlo i'r graddau eithaf ei ragoriaeth ei hun a'i genedl, fel dewisolion y Goruchaf, ar bawb arall. Cedwir defodau y noswaith arbenig hon, gydag ychydig iawn o eithriadau, yr un fath, yn mhob parth o'r byd. Un o'r darnau mwyaf hynodol, am ei fod y mwyaf cynhyrfus i galon yr Iuddew, ac hefyd am ei fod mewn arferiad yn mhob gwlad, yw emyn y Pasg—math o gân ddiodl. Dyma gyfieithiad llythyrenol o honi—

Hollalluog!
Adeilado ei dŷ gyda brys;
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau gyda brys.
Duw adeilada—Duw adeilada;
Adeilada dy dŷ gyda brys:
Yr etholedig—adeilada ei dŷ gyda brys:
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau yn fuan!

Duw adeilada—Duw adeilada—
Adeilada dy dŷ gyda brys.
Yr Un mawr—Y Dyrchafedig,
Adeilado ei dŷ gyda brys:
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau yn fuan!

Duw adeilada—Duw adeilada—
Adeilada dy dŷ gyda brys:

Y Prydferth—Y Cryf—
Yr un Pur—y Cyfiawn—
Adeilado ei dŷ gyda brys:
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau yn fuan!

Duw adeilada—Duw adeilada—
Adeilada dy dŷ gyda brys:
Y Santaidd—Yr Unig—
Y Cadarn—Y Gwybodus—
Y Brenin—Y Dysglaer—
Y Rhagorol—Y Galluog—
Y Gwaredwr—Yr Uniawn—
Adeilado ei dŷ gyda brys:
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau gyda brys!

Duw adeilada—Duw adeilada—
Adeilada dy dŷ gyda brys:
Y Santaidd—Y Trugarog—
Hollalluog—Hollnerthol—
Adeilado ei dŷ gyda brys:
Yn fuan—fuan,
Yn ein dyddiau gyda brys!
Duw adeilada,
Duw adeilàda,
Adeilada dy dŷ gyda brys!

Bore dranoeth ant i'r Synagog; ond nid oes dim neillduol yn y gwasanaeth yn teilyngu ein sylw, oddi eithr yn unig enwi mai y rhanau o'r ysgrythyr a ddarllenir yw y rhai canlynol—Y Ddeddf, Ex. xii. 21—51. *Maphtir*, Num. xxviii. 16—25. Prophwydi, Jos. v. 2 hyd vi. 1. Nid oes dim neillduol, chwaith, yn ngwasanaeth y prydnawn a'r hwyr, yn chwanegol at y rhanau arferol. Ond ar ol dyfod o wasanaeth yr hwyr, treulir yr ail noswaith yr un modd a'r gyntaf. Y mae gwasanaeth yr ail ddydd drachefn yr un fath a'r dydd cyntaf, oddieithr y rhanau ysgrythyrol, pryd y darllenir, o'r Ddeddf, Lef. xxii. 27 hyd ddiwedd xxiii. Prophwydi, 2 Bren. xxiii. 1—25.

Ar yr ail ddydd o'r ŵyl dechreuir cadw cyfrif o ŵyl y Pentecost, yn ol y gorchymyn yn Lef. xxiii. 15, 16. Y dull y cyflawnir hyn yw adrodd bendith y *Ngomer* (omer yd) yn ngwasanaeth hwyr y Synagog—ac hefyd, adrodd bob nos y fendith ganlynol—"Bendigedig wyt ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y greadigaeth, yr hwn a'n santeiddiaist ni a'th orchymynion, ac a orchymynaist i ni gyfrif offrwm yr ysgub.

"Dyma ddydd cyntaf offrwm yr ysgub."

Eir dros hon o noswaith i noswaith, gan newid a dweyd, " Dyma ail ddydd, neu drydydd dydd, &c," nes o'r diwedd iddynt gyrhaedd y degfed dydd a deugain.

Chol Hamonged. Gelwir y pedwar diwrnod sydd yn canlyn deuddydd cyntaf yr ŵyl yn *Chol Hamonged*, h. y. dyddiau cyffredin yr ŵyl; am y caniatair iddynt ganlyn eu gorchwylion arferol ar y dyddiau hyny. Nid oes dim neillduol teuluaidd yn cymeryd lle, na dim neillduol yn ngwasanaeth y Synagog, oddi eithr y rhanau a ddarllenir o'r Ysgrythyr. Y maent fel y canlyn,—

Dydd cyntaf—Ex. xiii. 1—16: Num. xxviii. 19—25.

Ail ddydd—Ex. xxii. 25 hyd xxiii. 19: Num. fel y dydd cyntaf.

Trydydd dydd—Ex. xxxiv. 1—26. Num. fel y dydd cyntaf.

Pedwerydd dydd—Num. ix. 1—14. Ac fel y dydd cyntaf.

Ar ol dychwelyd adref o'r Synagog yn hwyr y pedwarydd dydd, cymer y pen-teulu wydraid o win yn ei law ddeau, gan adrodd y santeiddiad fel ar noswaith gyntaf yr ŵyl; o herwydd y mae y ddeuddydd canlynol i'w cadw mor fanwl a chysegredig a'r ddeuddydd cyntaf. Y mae y pen-teulu yn gwneyd yr un modd yr hwyr canlynol. Heblaw hyn, nid oes dim defodau teuluaidd i'w cyflawni yn chwaneg; na dim neillduol yn galw am ein sylw yn ngwasanaeth y Synagog, oddi eithr yn unig y rhanau a ddarllenir o'r ysgrythyr yn ngwasanaeth y ddau fore. Y maent fel y canlyn—

Dydd cyntaf—Y Ddeddf, Ex. xiii. 17 hyd xv. 26.
Y *Maphtir*, Num. xxviii. 19—25.
Y Prophwydi, 2 Sam. xxii.
Ail Ddydd—Y Ddeddf, Deut. xv. 19 hyd xvi. 17.
Y *Maphtir*, fel y dydd blaenorol.
Y Prophwydi, Es. x. 32 hyd xii.

Yn hwyr y dydd hwn, pan bo y ser yn dechreu ymddangos, y mae yr ŵyl ar ben.

### Jiar.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r 19 o Ebrill, ac yn terfynu tua'r 17 o Fai.

Sheni Chamishi Fesheni. Cedwir tri diwrnod yn y

mis hwn yn ddyddiau ympryd; sef dydd Llun, dydd Iau, a'r dydd Llun canlynol. Amcan yr ympryd yw ymostwng ger bron y Goruchaf, rhag eu bod wedi anwesu yn ormodol yn eu llawenydd ar ŵyl y Pasg. Y mae hon yr un fath a'r ympryd a eglurwyd yn mis *Chesfan.*

LOG BANGOMER. Gelwir y deunawfed dydd o'r mis hwn wrth yr enw *Log Bangomer* h. y. y trydydd dydd ar ddeg ar hugain o Omer. Sylwyd eisioes eu bod yn cyfrif o'r ail ddydd o wyl y Pasg, hyd wyl y Pentecost. Y deunawfed dydd o'r mis dan sylw yw y 33 o'r cyfrif hwnw; am hyny fe'i gelwir wrth yr enw uchod. Gair ffurfiedig ydyw *Log*, o'r ddwy lythyren l ac g, y gyntaf yn ol y rhifnodiad Hebreig, yn arwyddo 30, a'r llall 3. Cedwir yr ŵyl hon yn ddydd o wledda a llawenydd, mewn coffadwriaeth am attaliad y pla yn nyddiau Rabbi Acifah. Yr oedd y pla wedi bod yn ofnadwy yn athrofa y dysgawdwr enwog hwnw, ac wedi cario lluaws o'i ysgolheigion i dragwyddoldeb. Ond ar y deunawfed dydd o'r mis hwn fe beidiodd ar unwaith, fel yn wyrthiol; a byth wedi'n fe gedwir y dydd yn ddydd o lawenydd gan y genedl, ond yn benaf yn mhlith ieuenctid ac ysgolion.

## SIFAN.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r deunawfed dydd o Fai, ac yn terfynu tua'r unfed ar bymtheg o Fehefin.

SHAFWNGOTH. Ar y pumed a'r chweched dydd o'r mis hwn cynelir gwyl *Shafwngoth*, h. y. wythnosau: a gelwir hi felly am ei bod i'w chyfrif o ŵyl y Pasg wrth wythnosau yn gystal a dyddiau, Deut. xvi. 9. Gelwir hi hefyd *Iom Habbicwrim*, dydd blaenffrwythau, Num. xxviii. 26. Ar gyfer y dydd cyntaf o'r ŵyl, sef y pummed dydd o'r mis, y rhoddodd yr Arglwydd ei Gyfraith i Moses ar ben Sinai; gan hyny, cedwir yr wyl mewn rhan i adgoffa iddynt am yr amgylchiad. Er mwyn efelychu yr olygfa oedd i'w tadau yn yr awyr agored wrth y mynydd, addurnir y Synagogau a'u teiau â blodau, mieri Mair, ac â llysiau ereill.

Ar ol dyfod o'r Synagog yr hwyr cyntaf, y mae y penteulu, ar ol iddynt eistedd wrth y bwrdd, yn cymeryd gwydraid o win yn ei law ddeau, ac yn santeiddio yr

ŵyl. Gan fod y santeiddiad yma yn gyffelyb i'r rhai a adroddwyd eisioes, nid yw o bwys ei chofnodi yma. Ar ol hyn treulir yr holl nos gan y rhai mwyaf selog, i ddarllen rhanau o'r Hen Destament, a'r *Mishna*, yn nghyda gweddiau wedi eu cyfansoddi i'r pwrpas; ond rhy faith o lawer i'w hadrodd yma.

Bore dranoeth eir i'r Synagog; ond gan nad oes dim neillduol yn y gwasanaeth, nyni awn heibio yn unig gyda dweyd mai y rhanau o'r ysgrythyr a ddarllenir yw y rhai canlynol—Y Ddeddf, Ex. xix, xx.

Y *Maphtir*, Num. xxviii. 26—31.
Y Prophwydi, Es. l.

Eir i'r Synagog drachefn yn y prydnawn a'r hwyr; ac ar ol dychwelyd adref o wasanaeth yr hwyr, santeiddir yr ŵyl yr un modd a'r hwyr o'r blaen.

Treulir tranoeth yn debyg drachefn; oddi eithr fod holl lyfr Ruth yn cael ei ddarllen yn ngwasanaeth y bore—i ddangos ei hymlyniad wrth Dduw Israel yn nghanol pob cyfyngder, a'r wobr a dderbyniodd am hyny. Y rhanau ereill a ddarllenir yw y rhai hyn—

Y Ddeddf, Deut. xv. 19 hyd xvi. 17.
Y *Maphtir*, fel y dydd blaenorol.
Y Prophwydi, Hab. iii.

Cedwir y ddeuddydd yma yn fanwl—na chaniateir gwneyd dim, oddi eithr cyneu tân, a pharotoi ymborth: ond pan yr ymddengys y ser yn hwyr yr ail ddydd, y mae yr ŵyl ar ben.

## Tamws.

Y mae y mis hwn yn dyfod i mewn tua'r eilfed ar bymtheg o Fehefin, ac yn myned allan tua'r pymthegfed o Orphenhaf.

Shifngoh Ngasar Bethamws. Ar yr eilfed ar bymtheg o'r mis cynalir ympryd, dan yr enw uchod, ystyr pa un yw yr eilfed ar bymtheg o *Tamws*. Dywedir mai ar y dydd hwn y daeth Moses o'r mynydd, ac wrth ganfod eilunaddoliaeth y bobl, y torodd y llechau. Ar yr un diwrnod hefyd y peidiodd yr aberth beunyddiol yn nheml Solomon, ac y dinystriwyd Jerusalem yr ail waith; yn nghydag enbydrwydd ereill cyffelyb. I adgoffa y dygwyddiadau hyn, yn nghyda phechodau y

genedl a ddygodd arnynt y fath gyflafanau, cedwir y dydd yn ympryd manwl.

### Af.

Y mae y mis hwn yn dechreu tua'r unfed ar bymtheg o Orphenaf, ac yn terfynu y pedwarydd ar ddeg o Awst.

Tishngah Baaf. Ar y nawfed dydd o'r mis hwn cedwir ympryd a elwir *Tishngah Baaf*, hyny yw, y nawfed o Af. Sefydlwyd yr ympryd hwn i adgoffa dinystr y ddwy deml, yn nghydag amgylchiadau alaethus ereill. Edrychir ar yr amgylchiadau hyn fel y rhai mwyaf dinystriol a ddygwyddodd iddynt fel cenedl; gan hyny cedwir yr ympryd yma yn fwy manwl nag un arall drwy'r flwyddyn oddi eithr Dydd y Cymmod.

Parotoir i gynal yr ympryd trwy roddi heibio cigfwyd, a diodydd eplesedig, a phob ymborth a ystyrir yn foethus. Mae rhai yn dechreu felly tua'r eilfed ar bymtheg o'r mis blaenorol, fel Daniel, meddant (x. 2.); y mae ereill yn dechreu gyda'r mis; ac ereill yn nechreu yr wythnos y mae yr ympryd yn dygwydd. Ar brydnawn yr wythfed dydd dysgwylir i bawb wneyd hyn; ac nid yw y rhai mwyaf crefyddol a selog yn bwyta dim ond tamaid o fara a halen; ac wedi hyny yfant gwpanaid o ddŵr oer. Fel arwydd arbenig o'r galar bwytair ŵy berwedig wedi ei roddi mewn lludw.

Y mae yr ympryd yn dechreu yn hwyr yr wythfed dydd, pryd y dysgwylir i bawb roddi heibio eu gorchwylion. Nid yw yn iawn iddynt ymolchi, na gwisgo eu hesgidiau, na chyfarch eu gilydd, oddi eithr mewn tôn drist; na darllen dim, oddi eithr Job, Galarnad, bygythion y Goruchaf trwy Jeremiah, a'r xxxiv. o Esay. Dysgwylir i bawb gadw yr ympryd—yr hen, canol oed, yr ieuanc, y fam, y wraig feichiog, ac hyd yn oed y plentyn sugno; mewn gair, pawb yn mhob amgylchiad, os na fydd hyny yn peryglu bywyd ar y pryd.

Ar ol myned i'r Synagog yr hwyr cyntaf, a darllen y gwasanaeth arferol, darllenir llyfr y Galarnad mewn tôn isel a phruddaidd, yn nghyda rhai gweddiau wedi eu cyfaddasu i'r achlysur.

Bore dranoeth ant i'r Synagog oddeutu chwech o'r gloch. Ni wisgant y *Tephilin* a'r *Talith* y bore hwn fel ar foreuon ereill; ond gwnant hyny yn yr hwyr yn

lle y bore. Dyma yr unig ddydd drwy'r flwyddyn y gwneir felly. Heblaw y gweddiau arferol, darllenir lluaws o weddiau yn ystod y gwasanaeth wedi eu cyfansoddi at amgylchiadau y dydd. Y rhanau ysgrythyrol a ddarllenir yw y rhai canlynol:—

Y Ddeddf, Deut. iv. 25—40.
Y Prophwydi, Jer. viii. 13 hyd ix. 24.

Yn y prydnawn hefyd darllenir y rhanau hyn:—

Y Ddeddf, Ex. xxxi. 11—14 a xxxiv. 1—10.
Y Prophwydi, Es. lv. 6 hyd lvi. 7.

Gydag ynddangosiad y ser, y mae yr ympryd ar ben.

CHAMISHAH NGASARAH BAAF. Ar y pymthegfed dydd o'r mis cynelir gwŷl tan yr enw uchod, ystyr pa un yw y pymthegfed o Af. Achlysur ei sefydliad oedd yr heddwch a gymerodd le rhwng llwyth Benjamin a'r llwythau ereill, fel yr adroddir yn Barnwyr, xxi. Cedwir yr ŵyl hon yn benaf gan ieuenctid, ac yn neillduol o'r rhyw fenywaidd. Treulir y diwrnod mewn llawenydd, a digrifwch, a dawnsio, a'r cyffelyb. Ni chedwir yr ŵyl hon yn awr mor fanwl ag yr arferid.

### ELWL.

Y mae y mis hwn yn dyfod i mewn tua'r pymthegfed o Awst, ac yn myned allan tua'r deuddegfed o Fedi.

Treulir y mis hwn fel mis o ymbarotoi erbyn dechreu eu blwyddyn, fel y soniwyd eisioes. Ar y dydd cyntaf dechreuir chwythu y *Shophar*, i'w rhybuddio fod yr adeg am edifeirwch a chymod yn agosau.

Yr ydym yn awr wedi arwain ein darllenydd trwy yr holl ŵyliau Iuddewig, ac wedi dangos iddo mewn dull mor gryno ag y medrwn y modd y cedwir hwynt gan Iuddewon ein dyddiau ni. Ni raid i ni ddweyd mai ychydig o'r gwyliau hyn oedd o osodiad dwyfol—fod y mwyafiant o lawer o osodiad dynol; a'r oll wedi eu llygru yn ddirfawr.

## PENNOD VII.—Y SEPHARDIM.

EU CYFANSODDIAD——DEFODAU—Y SYNAGOG—Y GLADDFA.

EIN hamcan, yn y bennod hon, fydd nodi, yn bur fy

y gwahaniaeth sy rhwng y *Sephardim* a'r Iuddewon yn gyffredin.

Yr ydym wedi nodi eisioes mai wrth *Sephardim* yr ydym i ddeall hiliogaeth Iuddewon Spaen a Phortugal —a'u bod yn ymhoni mai hwynt, a hwynt yn unig, yw gweddill llwyth Judah. Yn gyffredin, y mae eu brodyr y *Aschenasim* yn caniatau y rhagoriaeth yma iddynt. Y maent hwythau yn edrych arnynt eu hunain fel pendefigion y genedl, ac yn ymgadw ar wahan i'r Iuddewon ereill, nid yn unig o ran cyfeillach a chymdeithas, ond hefyd mewn crefydd. Y mae yn wir nad yw y gwahaniaeth crefyddol sy rhyngddynt o nemawr bwys, eto y mae yn ddigon i'w cadw hwynt fel dwy blaid yn hollol ar wahan. Gellir swmio i fyny y gwahaniaeth yma mewn ychydig o eiriau.

I. Gan nad oes ganddynt ond un gynulleidfa yn y deyrnas, nid oes ganddynt yr un Prif Rabbi—ac nid oes ganddynt yr un Rabbi awdurdodedig yn bresenol, er pan fu farw y diweddar Rabbi *Sola*. Trefnir eu holl ddadleuon crefyddol, yr un fath a chyda yr Iuddewon ereill, gan y *Beth Din*. Y mae y ddau yn sefyll yn gymhwys yr un fath i'r ddau gymundeb, gyda hyn o wahaniaeth—fod *Beth Din* yr *Aschenasim* yn cynwys tri o bersonau heblaw y *Prif Rabbi*, ond un y *Sephardim* ddim ond dau.

II. Y mae gwahaniaeth rhyngddynt hefyd yn eu syniadau a'u harferion crefyddol. Y maent yn cyduno yn y credo Iuddewig, ond yn y defodau y maent yn amrywio. Sut bynag, y mae yr amrywiadau hyn yn rhy aml a dibwys i ni eu hadolygu yn bresenol.

III. Yn y Synagog, y mae cryn dipyn o wahaniaeth, er na chenfydd yr annghyfarwydd mo hyny. Nid yw y gwahaniaeth rhwng urddasol, cyffredin, ac isel, yn nhrefniad yr eisteddleoedd, yno, ag sydd yn mhlith yr *Aschenasim*. Yn Synagog y *Sephardim* dichon fod eisteddle y gŵr cyfoethocaf yn nesaf at un y gŵr tylotof.

Heblaw hyn, y mae y gwasanaeth yn amrywio. Y mae cryn dipyn o wahaniaeth yn nhrefniad eu llyfr gwasanaeth i un yr *Aschenasim*. Byddai nodi y gwahaniaeth yma yn rhy faith o lawer yn bresenol. Ac heblaw y gwahaniaeth ynddo ei hun, y mae y donydd-

iaeth a ddefnyddir wrth eu darllen a'u canu yn bur wahanol. Crybwyllwyd eisioes fod llafariaid yr iaith Hebraeg yn cael eu dynodi â math o nodau, ac nid â llythyrenau, fel ein hiaith ni. Yn awr, nid yw yr *Aschenasim* a'r *Sephardim* yn seinio y nodau hyn yr un fath, ond yn bur wahanol; mor wahanol fel nad all y naill ddeall y llall yn iawn.

IV. Y mae y fonwent hefyd wedi ei threfnu yn wahanol. Yn lle, fel yr *Aschenasim*, ei threfnu yn dir uwch ac is—un i'r cyfoethog mewn ystyr, a'r llall i'r cyffredin a'r tylawd, y mae hi oll yn unffurf. Fel yn y Synagog, felly yn y fonwent—y mae y gŵr mwyaf yn ymyl y gŵr lleiaf; i arwyddo, yn dra phriodol, nad yw pethau y bywyd hwn, cyfoeth a thylodi, yn gwneyd un gwahaniaeth rhwng dyn a dyn yn ngolwg y Goruchaf. Fel hyn, pa faint bynag y maent yn ymgadw mewn cymdeithas oddi wrth eu brodyr a'u chwiorydd o radd is, y maent oll yn gydradd mewn ystyr grefyddol.

## PENNOD VIII.—Iuddewon Prydeinaidd Diwygiedig.

Er amser Mendelshon, yn nghanol y ganrif ddiweddaf, y mae lluaws wedi codi yn mhlith yr Iuddewon yn sychedu am ddiwygiad. Y mae yr awydd yma wedi myned ar gynydd yn neillduol yn Germany, gwlad ei enedigaeth; a'r canlyniad yw, y mae llawer iawn o'r genedl wedi rhoi heibio yr hen ddull o gario yn mlaen eu gwasanaeth crefyddol a'u defodau, ac yn ymdebygu yn fwy i'w cymydogion Cristionogol. Y mae amryw o Synagogau ar y cyfandir yn debycach o lawer i gapeli neu lanau Cristionogol, nag i le Iuddewig o addoli.

Yr oedd yr un teimlad wedi dechreu yn mysg Iuddewon Prydain, er ys amryw flynyddoedd—yr oedd meithder, annhrefn, anfuddioldeb y gwasanaeth crefyddol, wedi dyfod yn faich ar feddyliau amryw; ond er gwneyd hyny yn hysbys dro ar ol tro, yr oedd yr awdurdodau crefyddol yn eu plith yn troi clust fyddar. O'r diwedd, fe ymunodd amryw o foneddigion perthynol i'r *Sephardim* a'r *Aschenasim* i gario allan eu dymuniadau. Ymffurfiasant

yn gynulleidfa; a dewisasant Mr. Marks, Iuddew Saesonig a dysgedig, yn weinidog. Ar y 24 o Awst, 1841, anfonasant lythyr at swyddogion Synagog y *Sephardim*, yn egluro eu cynllun, a'u penderfyniad o agor Synagog yn ddiymaros. Ar y 13 o Ionawr canlynol (1842) ysgrifenasant lythyr drachefn, mewn ffordd o atebiad i lythyrau a phenderfyniadau a wneid yn eu herbyn. Mewn canlyniad i hyn anfonwyd rhybudd oddi wrth awdurdodau y *Sephardim* a'r *Aschenasim* at holl Synagogau y deyrnas, i bob Iuddew ymgadw yn llwyr oddi wrth y cymundeb newydd.

Ar y 27 o Ionawr, 1842, agorwyd y Synagog newydd, pryd y traddododd y gweinidog bregeth fedrus iawn i egluro y materion oedd mewn dadl. Y testyn oedd Joshua xxii. 22. Y prif ddadl oedd o barth awdurdod y llyfr a elwir yn Dalmwd. Gan fod Iuddewiaeth, fel y mae bellach er ys oesoedd meithion, wedi ei seilio yn gwbl ar y llyfr hwnw, myn eu harweinwyr crefyddol ei fod yn ddwyfol—fod y traddodiadau, a'r chwedlau, a'r esboniadau Rabbinaidd sydd ynddo o Dduw, gymaint, a mwy, na'r Hen Destament. Gwadai Mr. Marks a'i gynulleidfa hyn—profai y pregethwr mai dynol a ffaeledig oedd y cwbl, nad oes dim yn ddwyfol yn eu plith ond Moses a'r Prophwydi, fel y maent yn yr Hen Destament. Gan hyny, y mae yr Iuddewon Prydeinaidd Diwygiedig, wedi bwrw ymaith awdurdod y traddodiadau a'r Rabbiniaid, gan amcanu cymeryd eu cyfarwyddo yn unig gan y gyfraith a'r prophwydi.

Yn unol â hyn y maent wedi rhoi heibio cadw yr holl wyliau Iuddewig, oddi eithr y rhai a nodir yn yr Hen Destament, a chadwant y rhai hyny yr un nifer o ddyddiau ag a nodir yn yr ysgrythyrau. Y maent hefyd wedi cyhoeddi llyfr gwasanaeth, dan olygiad eu gweinidog. Yr iaith Hebraeg a ddefnyddir ynddo, fel yn y Synagogau ereill, ond y mae wedi ei dalfyru yn awr. Y mae y chwedlau a'r esponiadau Rabbinaidd wedi eu gadael allan, ac amryw o weddiau hefyd. Y mae y gweddiau Caldeaidd sydd gan yr Iuddewon ereill, wedi eu cyfieithu yn hwn i'r Hebraeg, ac felly wedi eu gwneyd yn fwy dealladwy. Heblaw y cyfnewidiadau hyn, y maent wedi ymwrthod â'r drefn o alw personau i fyny at ddarlleniad y gyfraith—o herwydd, ar un law,

nid yw hyny yn ateb un dyben da, ond ar y law arall, yn peri llawer o derfysg yn nghanol yr addoliad. Ac yn olaf, y mae y gweinidog i draddodi pregeth yn Saesonig bob bore Sabbath, ac ar fore pob gwyl.

Trefn y gwasanaeth yn y Synagog yma, yn fyr, sydd fel hyn—Darllenir y gwasanaeth gan un o'r ddau weinidog, Mr. Marks a Mr. Lowry. Fel y crybwyllwyd, yn Hebraeg y darllenir y gwasanaeth; a chanlynir y dull sy gan y Sephardim fel yr un mwyaf cywir. Cenir rhanau o hono gan gôr dewisedig o gantorion. Yna darllenir y gyfraith a'r prophwydi, fel yn y Synagogau ereill, ond heb alw neb i fyny at y darlleniad, nac i offrymu rhoddion, fel y crybwyllwyd. Yn olaf, traddodir pregeth gan un o'r ddau weinidog, yn Saesonig, yr hyn sydd yn terfynu y gwasanaeth.

Y mae trefniadau y Synagog hon mor agos i Gristionogaeth ag y gallant fod, heb wadu Iuddewiaeth. Y mae llawer iawn o'r drefn a'r gweddeidd-dra sydd yn nghynulleidfaoedd Cristionogol i'w canfod yma hefyd. Mewn gair, y maent bron mor ddifai ag y gellir dysgwyl iddynt fod, heb sylwedd mawr y datguddiad dwyfol. Y mae pob cymal bron yn ei le, ond heb anadl. Pa fodd bynag, gan eu bod wedi rhoddi heibio ffurfio eu crefydd wrth osodiadau dynol, a chymeryd eu harwain yn unig wrth air yr Arglwydd, pwy ŵyr na chant afael, cyn hir, yn yr hwn y llefarodd Moses, a'r Prophwydi, a'r Salmau am dano.

---

## Y Drydedd Ran.

### AGWEDDION CYMDEITHASOL YR IUDDEWON.

Yn y rhan hon o'n llyfryn yr ydym yn amcanu gwneyd adolygiad byr ar agweddion cymdeithasol y genedl. Y mae y pwnc yn un lled anhawdd i'w drin yn deg a chywir, mewn cwmpas bychan, nid yn unig am nad oes dim o'r fath wedi ei wneyd na'i amcanu o'r blaen, ond hefyd am fod y cymundeb Iuddewig yn cael ei wneyd i fyny o Iuddewon o bob gwlad trwy Ewrop. Y mae agweddion cymdeithasol y rhai hyn yn amrywio yn fawr, yn ol y gwahanol wledydd y daethant o honynt; ac wrth ystyried eu bod yn byw i raddau mawr ar wahan oddi

wrth y Cenhedloedd, y maent yn cadw eu neillduolion lawer hwy nag y gwnaent heb hyny. Heblaw hyn, y mae y gwahaniaeth sy rhwng y naill ddosparth a'r llall mewn amgylchiadau, a dysg, a dygiad i fyny, yn gwneyd amrywiaeth yn eu plith, o gwrs; fel y mae yn annichon rhoi dysgrifiad cywir o honynt heb gadw mewn cof fod eithriadau i lawer o'r nodweddion a ddygir dan sylw. Ond yma dylem sylwi, mai âg Iuddewon Saesonig, ac nid âg Iuddewon tramor, yn byw yn Lloegr, y mae a fynom; ac agweddion cymdeithasol yn y wedd y maent hwy yn rhoi ar bethau yw testyn y pennodau canlynol, er nad ellir, ar bob amgylchiad, gadw y gwahaniaeth yma.

## PENNOD I.—Y CYMUNDEB IUDDEWIG.

### NIFER—SEFYLLFA—PRESWYLFA.

I. Y MAE yn anhawdd cyfrif, gydag un math o sicrwydd, beth yw nifer y genedl yn y deyrnas hon. Nid ydynt hwy eu hunain wedi cymeryd cyfrif, nac yn caniatau i'w brodyr wneyd hyny; ac nid oes gan y Cenedloedd, hyd yma, ond rhyw amcan-gyfrif. Ystyrir yn gyffredin fod tua 25 mil yn y brif ddinas, a thua 5 mil mewn gwahanol leoedd ereill o'r deyrnas; yn gwneyd cyfanswm o ddeng mil ar hugain. Yr ydym ein hun wedi cychwyn ymchwiliad i hyn, ond heb ei orphen pan yn ysgrifenu y llinellau yma. Mor belled ag yr ydym wedi myned, ymddengys fod yr amcan-gyfrif uchod yn llawn digon; o'r hyn lleiaf, Iuddewon sydd yn ymyryd dim âg Iuddewiaeth.

II. Yn mhlith y fath nifer, y mae amrywiaeth dirfawr, fel y gellid disgwyl, yn eu hamgylchiadau. Gellir dweyd fod y rhan fwyaf yn dylawd. Y mae llawer iawn mewn eisiau o gynaliaeth a chysuron gwir angenrheidiol; a lluaws yn chwaneg yn gallu ond prin gyrhaedd angenrheidiau bywyd. Pe y golygem mai nifer y genedl drwy y deyrnas yw 30 mil, efallai na fyddai yn ormod dweyd fod tua 15 mil i'w rhestru yn y dosparth tylawd yma. Y mae y rhai hyn yn fwy lluosog o lawer iawn, mewn cymhariaeth, yn y brif-ddinas, nag yn un man arall o'r deyrnas. Un o brif achosion y tylodi yma yw,

fod nifer fawr o Iuddewon tylodion gwledydd ereill yn ymdyru i'r wlad hon yn barhaus, ac ar ol cyraedd Llundain, yn syrthio i mewn i'r cymundeb, ac heb fedr na gallu i ymsymud oddi yno mwy. Y mae y rhyddid a'r llwyddiant sydd yn y wlad hon, yn effeithio felly ar feddwl y genedl trwy'r byd, fel y mae cannoedd yn cyrchu yma yn barhaus o wahanol wledydd Ewrop, a pharthau ereill. Gellir enwi hefyd mai ychydig, mewn cymhariaeth, o honynt sydd yn medru unrhyw gelfyddyd: y maent yn dewis byw wrth brynu a gwerthu yn hytrach nag wrth lafur eu dwylaw; a phan y mae y farsiandïaeth yn brin a llesg, nid ellir dysgwyl i'r marsiandiwr fod ond tylawd. Ac efallai nad oes neb yn fwy digysur yn ei dylodi na'r Iuddew. Wedi bod am oesoedd heb gartref sefydlog, yn agored i erledigaeth a chreulonder, heb amser na chalon i feithrin yr arferion teuluaidd sydd yn gwneyd teulu yn ddedwydd, y mae y diffygion a ddeillient o angenrheidrwydd o'r fath gyflwr, yn aros gyda'r Iuddew tylawd, ac yn gwneyd ei dylodi yn bur annedwydd.

O'r tu arall, y mae llawer o honynt yn gyfoethog, a rhai yn gyfoethog iawn—dros feddwl calon o gyfoeth; er, efallai, pe bae modd eu cymharu hwynt â'u cymydogion yn hyn, na fyddai un yn eu plith mor gyfoethog a rhai o'r Cenedloedd. Un rheswm, ac efallai y prif, am hyn ydyw, nad yw eu cyflwr trwy yr oesoedd wedi caniatau iddynt fod yn dir-feddiannwyr, fel y gallai y plant, o genedlaeth i genedlaeth, chwanegu at etifeddiaeth eu tadau. Ond y mae eu cyfoeth, fel eu trigfa, wedi bod yn ansefydlog ac ansicr. Y syndod yw, fod cynifer yn eu plith yn codi megys o ddim, trwy y fath anhawsderau, i feddiannu y fath gyfoeth. Y mae yr holl deuluoedd cyfoethog yn eu plith, yn awr yn y deyrnas, gyda rhyw un neu ddau o eithriadau, fel hyn wedi cyraedd y sefyllfa y maent ynddi trwy eu llafur uniongyrchol eu hunain neu eu rhieni; a gellir dweyd gyda sicrwydd fod amryw o honynt yn sefyll yn mhlith y teuluoedd cyfoethocaf yn y byd. Fel hyn y mae yn eu plith hwy, fel yn mhlith y Cenedloedd, eithafion tylodi a chyfoeth, yn neillduol yn Llundain. Ond rhwng yr eithafoedd hyn y mae dosparth lluosog yn bobl weithgar ac ymdrechgar dros ben; ac ar y dosparth yma y mae cysur a

llwyddiant y cymundeb yn dibynu yn benaf. O fewn y dosparth hwn yr ydym yn cyfrif o'r rhai, ar un law, sydd yn ennill, trwy eu llafur, ddigon i gynal eu teuluoedd â chysuron angenrheidiol, hyd at, ar y law arall, y rhai sydd yn gallu cyraedd pob cysuron a rhysedd arferol yn y deyrnas hon. O fewn y cylch yma ni dybiem fod oddeutu pedair mil o deuluoedd.

III. Y maent yn trigo yn y rhan fwyaf o drefydd masnachol y deyrnas. Nid yw eu hymlyniad yn anarferol at le, ond yn hytrach at fasnach; a lle bynag y bo hono yn ffynu, odid na fydd rhai o blant Abraham yno. Nid yn fynych y ceir dim ond teulu neu ddau mewn lle, canys y mae eu defodau yn anhawdd i'w cyflawni heb fod rhyw gynifer yn nghyd; gan hyny y maent yn dewis ymgasglu at eu gilydd. Lle bynag y byddo y boblogaeth yn ddigon lluosog i ddeg o wrrywaid mewn oedran gwrdd yn ddyddiol i gynal gwasanaeth, gellir adeiladu Synagog. Y mae ganddynt yn awr Synagogau yn y lleoedd canlynol:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Abertawy . . | 1 | Ipswich . . | 1 |
| Bath . . . | 1 | Leeds . . . | 1 |
| Bedford . . | 1 | Liverpool . . | 2 |
| Birmingham . . | 1 | Manchester . . | 1 |
| Brighton . . | 1 | Merthyr Tydfil . | 1 |
| Bristol . . . | 1 | Norwich . . | 1 |
| Caergrawnt . | 1 | Nottingham . | 1 |
| Caerdydd . . | 1 | Penzance . . | 1 |
| Chatham . . | 1 | Portsmouth . | 1 |
| Cheltenham . . | 1 | Plymouth . . | 1 |
| Castell Newydd . | 1 | Ramsgate . . | 1 |
| Dover . . . | 1 | Sheerness . . | 1 |
| Dublin . . | 1 | Sheffield . . | 1 |
| Exeter . . . | 1 | Southampton . | 1 |
| Edinburgh . | 1 | Sunderland . | 1 |
| Falmouth . . | 1 | Yarmouth . . | 1 |
| Glasgow . . | 1 | Wolverhampton | 1 |
| Hull . . . | 1 | | |

Y mae y rhestr uchod yn cynwys y cwbl sydd yn y deyrnas gyfunol tu allan i Lundain. Y nifer sydd yn y brif ddinas sy fel y canlyn:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Sephardim* . | 1 | Iuddewon Diwygiedig | 1 |
| *Aschenascin* . . | 5 | Iuddewon Polaidd . | 1 |

Heblaw y rhai'n, y mae amryw o Synagogau bychain, lle y cedwir gwasanaeth dyddiol, a rhyw hanner dwsin lle y cedwir gwasanaeth Sabbothol, ond heb eu hystyried yn Synagogau breintiedig.

Am yr un rheswm ag y maent yn ymgasglu at eu gilydd i'r un dref, y maent hefyd yn ymgasglu i'r un gymydogaeth mewn trefydd mawr. Ond heblaw hyny, y maent yn masnachu gymaint â'u gilydd, ac yn byw i'r fath raddau y naill ar y llall, fel y mae yn anhawdd i'r dosparth gweithyddol fyw ar wahan pe dymunent. Y canlyniad yw, y mae rhai cymydogaethau yn y brif ddinas yn cael eu poblogi yn benaf gan Iuddewon, a rhai ystrydoedd cyfain heb neb ond hwy ynddynt. Y brif gymydogaeth Iuddewig yn Llundain yw *Houndsditch*, *Aldgate*, *Whitechapel*, a'r cwmpasoedd o amgylch. Pe y cylymid llinyn tua milldir o hyd ar dop siop "*Moses & Son*," gan wneyd cylch crwn at hyd y llinyn o'i chwmpas, fe gynwysai y cylch hwnw bymtheg mil o leiaf o Iuddewon. Ond y mae lluaws o honynt yn ymadael yn barhaus, ac yn dewis lleoedd ereill, mwy ar wahan oddi wrth eu pobl; megys cymydogaeth Finsbury, ac yn neillduol rhanau gorllewinol y dref. Achosir hyn, nid cymaint gan awydd i agor masnach yn fwy â'r Cenedloedd, ond i fod yn fwy ar wahan oddi wrth y cymundeb Iuddewig. Y mae symiadau yr oes o barth crefydd a dysg yn tori i mewn yn raddol ar y meddwl Iuddewig, ac y mae hyn yn un o'r effeithiau.

## PENNOD II.—Galwedigaethau.

### Amrywiaeth galwedigaethau — hen ddillad — ffrwythydd—pysgod.

I. Y mae yn mhlith yr Iuddewon rai yn canlyn bob math o alwedigaethau bron—er mai eu dewisbeth yw cario yn mlaen ryw fasnach neu gilydd. Ac wrth hyny y mae corff y genedl yn byw. Nid oes yr un *aristocracy* yn eu plith—nid oes yr un dosparth o honynt yn meddu tir-feddiannau, ac yn byw yn segurllyd a dilafur, ond y maent oll, o'r uchaf hyd yr isaf, yn canlyn rhyw orchwylion i gynal a chynyddu eu cyfoeth. Yn yr ystyr

yma y maent o bob gradd a llun—o'r bancer cyfoethog hyd at y pedlwr tylotaf.

Y rhai uchaf eu masnach yn mhlith y genedl yw Rothschilds ; a'r dull y cyrhaeddodd y teulu eu cyfoeth mawr oedd fel hyn. Yn amser y rhyfeloedd dan Napoleon, yr oedd Iuddew o'r enw Rothschild yn byw yn yr heol dylawd a elwid *Juden Strasse*, neu yr heol Iuddewig, yn Frankfort-ar-Maen. Yr oedd o yn fwy tylawd na'r cyffredin, ac heb ddim neillduol yn ei nodweddiad i dynu sylw nac Iuddew na Chenedl-ddyn. Pa fodd bynag, pan y dechreuodd y rhyfeloedd gynhyrfu Germany, a chyrhaedd Frankford, ffodd un tywysog gan adael ei feddiannau ar ol. Ymddiriedodd gymaint ag oedd yn symudadwy i ofal yr Iuddew hwn—pam, ni wyddys; ond felly y bu. Yspeiliwyd y dref gan y Ffrancod, ac ni arbedwyd yr Iuddewon. Yn mhen rhai blynyddoedd, ar ol i heddwch gael ei adferyd, dychwelodd y tywysog i'w gartref, ond heb gymaint ag ymholi am ei gyfoeth, gan y gwyddai fod yr heol Iuddewig, yn gystal a'r dref yn gyffredin, wedi ei hysbeilio. Ond er ei syndod, dychwelodd yr Iuddew y trysor iddo, heb gymaint a dimai yn ngholl. Yr oedd wedi gallu ei guddio yn adeg y cythrwfl, a'i gadw fel hyn i'w berchenog. Taenwyd y chwedl trwy holl lysoedd Germany, a chodwyd Rothschild i swyddau o ymddiried. Rhoddodd hyn ei alluoedd argyllidol ar waith—ac ennillodd gyfoeth yn gystal ag enw iddo ei hun; a sefydlodd ei deulu hefyd mewn sefyllfaoedd cyfoethog. Y mae y Barwn Rothschild yn ŵyr iddo, ac yr henaf o bedwar o frodyr. Y mae y pedwar brawd mewn undeb masnachol, ac yn ffurfio un cwmnïaeth. Y maent yn hynod o debyg i'w gilydd o ran maint a phryd; ac yn hynod o debyg i'w diweddar dad yn y pethau hyn; ond nid mor debyg mewn tueddiadau. Ennillodd eu tad lawer iawn o'i gyfoeth trwy anturio yn y *public securities*—masnach nad yw nemawr gwell na math o ddamchwaen *(lottery)*. Teimlodd yr hen ŵr hyny lawer gwaith. Dywedodd cyfaill oedd yn eithaf hysbys o'i drafnidaeth wrthym, iddo fod ddwywaith neu dair mewn amgylchiadau mor gyfyng na wyddai yn y byd sut y troai pethau allan—os yn ei erbyn, byddai yn mhen ychydig oriau heb ddimai; ond os o'i blaid, byddai yn elw dirfawr iddo. Ar yr

adegau hyny âi i'w wely fel arferol, ond methai â chysgu—codai cyn pen hanner awr, a threuliai y nos mewn cerdded yn ol ac yn mlaen yn ei ystafell. Tranoeth, sut bynag, ar ol oriau lawer o arteithiau meddwl llenwid ei fynwes â'r dedwyddwch uwchaf y gwybu ef erioed am dano—canys dygwyddodd i bob amgylchiad o'r fath droi allan yn ffafriol iddo. Nid yw ei blant yn debyg iddo yn hyn—y maent hwy yn cario eu masnach yn mlaen mewn dull mwy sicr a rheolaidd. Y mae eu masnachdy yn St. Swithin's Lane, King William Street. Y mae ganddynt un yn Paris, a Frankford, a Vienna. Y mae yn anhawdd dynodi eu tŷ a'u masnach—canys nid ydynt yn ymgadw at un gangen benodol, ond yn defnyddio eu cyfoeth dirfawr at amrywiol bethau, yn ol fel bo masnach Ewrop a'r byd yn agor y drws iddynt. Un gangen o'u masnach yw newid biliau tramor. Y mae y tai sy ganddynt ar y cyfandir, fel y nodwyd, yn fantais ddirfawr i hyn. Y mae cyfanswm y fasnach a wneir ganddynt yn hyn, yn cyrhaedd, o leiaf, gan mil o bunnoedd yn wythnosol. Y maent hefyd yn rhoddi benthyg arian i'r fath raddau, fel nad oes braidd un pwnc pwysig arianol yn marchnad y byd nad oes ganddynt law ynddo. Y mae y rhan fwyaf o deyrnasoedd Ewrop yn eu dyled, a marchnad arianol Ewrop i raddau dan eu dylanwad. Y mae eu cyfoeth yn ddirfawr—mor fawr fel nas gwyddant yn iawn at beth i'w droi. Y mae hyn wedi eu harwain i anturio mewn rheilffyrdd tramor, ac amryw o bethau ereill rhy faith i ni eu hadolygu yma, a'r cwbl yn troi allan yn elw mawr iddynt. Y maent hefyd yn dechreu gwario rhan o'u cyfoeth mawr i brynu tir yn y deyrnas, ac i sicrhau etifeddiaethau i'w teuluoedd ar eu hol.

Y mae gan y brodyr hyn gyneddfau masnachol annghyffredinol. Yn y bore bob dydd, y maent yn adolygu eu cynlluniau eang—yn rhoi pob olwyn i droi yn ei lle priodol—yn prynu ac yn gwerthu—yn trafod digon o gyfoeth i brynu teyrnas; ac erbyn bo oriau masnach ar ben, ymryddhant oddi wrth ei helbulon; a synwyd ni droion mor fwyn ac esmwyth y medrant fod. A da genym allu dweyd, eu bod yn ddynion haelfrydig—y maent yn cyfranu miloedd bob blwyddyn at achosion daionus, Iuddewig a Christionogol. Yn wir, nid ydynt

ond Iuddewon mewn enw—y mae eu cydymdeimlad yn fwy â Christionogion.

Oddi yma gallasem arwain ein darllenydd i'r *Royal Exchange*, ac at luaws o fasnachdai cyfoethog yn y brif ddinas, a lleoedd cyffelyb mewn trefydd mawrion ereill, i syllu ar gynlluniau a diwydrwydd plant Abraham; ond cymerai ormod o'n lle a'n hamser. Rhaid i ni dreulio hyn o bennod yn benaf gyda'r masnachau a gerir yn mlaen ganddynt hwy eu hunain yn benaf. Ac yma, dylem roddi y flaenoriaeth i,

II. Fasnach Hen Ddillad. Ystyrir hon, mewn modd neillduol, yn un Iuddewig, ond dylid sylwi, fod llawer o Wyddelod ynddi hefyd, a bod rhai rhanau o honi wedi syrthio bron yn llwyr i'w dwylaw. Y prif leoedd y cynelir y fasnach hon yn y brif ddinas yw y rhai canlynol:—

*Y Gyfnewidfa.* Hyd y flwyddyn 1843, nid oedd gan y masnachwyr hyn yr un arwerthfa gyhoeddus wedi ei neillduo iddynt, ond ymgasglent i'r gymydogaeth lle mae yr arwerthfa bresenol, a safent yn yr awyr agored i gario yn mlaen eu masnach. Yr oedd yr annhrefn a'r ymryson oedd yno yn enbyd, a'r ymladd weithiau yn ddychrynllyd; fel yr oedd yn angenrheidiol cael cant neu ddau o *bolismen* i'w heddychu a'u dwyn i drefn. Yn y flwyddyn uchod prynwyd darn o dir rhwng *Houndsditch* a *Petticoat Lane* gan Mr. Isaac—oddeutu 100 troedfedd o hyd a 70 o led; ac yno y mae cyfnewidfa yr hen ddillad. Ond cyn i ni arwain ein darllenydd i mewn i'w hadolygu, dylem ddweyd gair neu ddau am y rhai sydd yn dwyn yr hen ddillad yno i'w gwerthu.

Nid oes neb o'n darllenwyr sydd wedi bod yn y brif ddinas nad yw wedi sylwi ar yr Iuddew yn myned ar hyd yr heolydd dan weiddi yn barhaus, *clo, clo, old clo* (dillad, dillad, hen ddillad). Ei neges yw prynu y dillad fo gan deuluoedd wedi eu troi heibio: nid yw o bwys pa un ai gwych ai gwael, pa un ai hugan, ai gwasgawd, ai esgidiau, ai het, ai beth fyddo; os bydd ceiniog o elw i'w gael arno, fe'i prynir. Ar ol gorphen cerdded o gwmpas a phrynu, eir â chynyrch y fasnach i'r gyfnewidfa. Y mae y prif fynedfa iddi o *Houndsditch*, heibio i *Phil's Buildings* Cyn myned trwy y porth, rhaid talu dimai o doll i'r porthor. Y mae porth cyffelyb yn

yr ochr arall. Dywedodd y porthor wrthym fod o ddwy i dair mil yn myned i mewn trwy y porth yma bob dydd. Y mae y gyfnewidfa yma wedi ei rhanu yn ddau dosparth. Yn un o'r ddau, gwerthir yr hen ddillad yn gymhwys fel y prynwyd hwy gan drigolion Llundain yn ystod y dydd. Y mae y llall oddeutu cymaint arall a'r cyntaf, ac yn cynwys 90 o werthfaoedd. Yma gwerthir yr hen ddillad mewn diwyg well nag y prynwyd hwynt. Y mae y prynwyr ar hyd yr heolydd yn eu rhoddi i'w tacluso cyn eu dwyn i'r farchnad. Nid oes neb braidd yn myned i un o'r ddau ddosparth o'r gyfnewidfa hon i brynu ond ail werthwyr—a hon yw yr unig farchnadfa lle gallant gael y nwyfau sydd arnynt eisiau. Y mae y masnachwyr hyn yn dyfod yma o bob parth—nid yn unig o Lundain, a threfydd mawrion Lloegr, a'r Yscotland, a'r Werddon, ond hefyd gwledydd tramor, yn neillduol Ffrainc, Belgium, a Holland. Rhyw fath penodol o nwyfau a anfonir i Ffrainc a Belgium, &c.; ond anfonir pob math, a hyny i helaethrwydd, i Holland a'r Werddon, ac yn neillduol yr olaf. Y mae y trafnidaeth a wneir yma yn cyrhaedd y swm anhygoel o bymtheg cant o bunnoedd bob wythnos drwy y flwyddyn.

Yn ymyl hon y mae dwy gyfnewidfa arall. Defnyddir rhei'n i fân werthu pob math o ddilladau—gwych a gwael—mawr a bychan; gall cannoedd gael eu dilladu o'u pen i'w traed mewn ychydig o funydiau, a hyny am ychydig bach o arian. Y mae y gyfnewidfa i werthu yn gyfanswm, yn agored bob dydd drwy'r wythnos—y Gwyddelod yn ei defnyddio ar y Sadwrn, a'r Gwyddelod a'r Iuddewon ar y Sul; ond ychydig, mewn cymhariaeth, yw y drafnidaeth a wneir ynddi ar y naill ddydd na'r llall. Am hyny ni chodir y ddimai o doll ar y dyddiau hyn. Yn y ddwy ereill, y mae llonyddwch perffaith ar y Sadwrn, y Sabbath Iuddewig, gan mai Iuddewon yw y masnachwyr. Ond ar y Sul, y Sabbath Cristionogol, dywedir wrthym fod yno fasnach brysur dros ben. Y mae gweithwyr tylodion o bob parth o'r dref a'i chwmpasoedd yn dyfod yma ar fore y Sabbath, ar ol derbyn eu cyflogau ddydd Sadwrn, i brynu dillad iddynt eu hunain a'u teuluoedd. "Gwn," meddai cyfaill Iuddewig wrthyf, "nad ydych chwi yn cymeradwyo hyn. Ar yr un pryd y mae yn well iddo fod na pheidio,

yn amgylchiadau presenol pethau. Gwyddoch mai meddwdod ac annghymedroldeb yw prif bechod Llundain—a bod y llywodraeth yn caniatau cario hyny yn mlaen ar y Sabbath Cristionogol ar ol un o'r gloch; ac oni bae fod y farchnad yma yn agored, fe âi cannoedd â'u harian i'r tafarndai i'w gwario, gan adael eu hunain a'u teuluoedd heb y dillad y maent yn awr yn brynu." Yn debyg i hyna yr ymresymai ein cyfaill yn nghanol y farchnadfa—un o'r lleoedd rhyfeddaf yn y brif ddinas. Y mae pob peth yno yn hen, a llwyd, a chymysglyd—yr adeiladau, y nwyfau, a'r masnachwyr. Y mae y fasnach hefyd yn un Iuddewig, mewn rhyw ystyr—cysylltir hi a'r genedl yn fynych â'u gilydd; a chyfrifir y ddwy yn ysgymun-bethau. Gorfodir ni i edrych ar y fasnach mewn goleuni gwahanol. Y mae yn wir nad yw yn un barchus, mwy na llawer un arall, ond y mae yn un ddefnyddiol. Trwyddi hi y mae personau a theuluoedd yn cael gwerthu eu hen ddilladau, nad ydynt iddynt hwy o un defnydd; y mae personau a theuluoedd tylodion yn cael lle i brynu gwisgoedd yn ol fel y bont yn gallu; a miloedd ereill yn byw wrth y prynu a'r gwerthu. Y mae yn tra rhagori, mewn llawer ystyr, ar y fasnach feddwol; ac y mae cadw gwerthfa o hen ddillad yn ddeng mwy anrhydeddus na chadw diotty. Dywedir hefyd yn gyffredin fod y masnachwyr yma yn rhai tra annghyfiawn—y gwna casglwyr yr hen ddillad bob dyfais i dwyllo y rhai fo yn eu gwerthu iddynt, a gwerthwyr yr hen ddillad drachefn bob dyfais i dwyllo y prynwyr. Diamau fod gormod o wir yn hyn—ond gwyddom fod lluaws o fasnachwyr mwy parchus na hwy yn euog o'r un pechodau; a'n hargyhoeddiad ni yw mai ychydig o wahaniaeth sy rhwng yr Iuddewon yn hyn a Chenedloedd o'r un sefyllfa a galwedigaeth. Wrth derfynu â'r farchnadfa hon, rhaid i ni ddweyd, fod y lle yn cael ei gario yn mlaen mewn dull hynod o onest. Yn nghanol yr holl gymysgedd a thwrw sydd yno, anfynych iawn y mae neb yn *colli* dim o'u nwyfau; ond sicrhawyd i ni fod y lle yn hollol onest. Gallwn warantu hyny ein hunain mor belled a hyn—i ni fyned drwyddo, yn nghyda'r gymydogaeth, luaws aneirif o weithiau, ond na anturiwyd, hyd y gwyddom, ein hysbeilio erioed o ddim. Yr ydym yn teimlo yn ddigon dibryder yn

nghylch ein pocedau yn y gymydogaeth Iuddewig; ond nid yn mhob cymydogaeth arall yn Llundain.

Dyma yr unig farchnad gyfanwerth, fel y soniwyd; a dyma y brif farchnadfa adwerth. Y mae lleoedd ereill i adwerth. Y rhai mwyaf enwog yw *Petticoat Lane*, yn ymyl, a *Rosemary Lane*, heb fod yn mhell; yn nghyda *Marylebone-lane*, *Holywell St.*, *Monument St.*, *Saffron Hill*, &c., &c; ond ni chaniata ein terfynau i ni eu canlyn.

III. Yn nesaf at fasnach yr hen ddillad, y mae plant Abraham yn enwog am eu masnach mewn ffrwythydd; yn benaf *orange*, *lemon*, a chnai. Yma yr ydym yn cyfeirio yn benaf at Iuddewon Llundain.

Y brif farchnadfa ydyw "*Duke's Place*"—tucefn i *Houndsditch*, ac yn ymyl y Synagog fawr. Y mae y farchnadfa hon yn gyfangwbl yn nwylaw Iuddewon. Nid yw y lle yn annhebyg i farchnadfa yr hen ddillad, o ran bod yn fudr ac anolygus; ond yn fwy dystaw a digynhwrf o lawer. Ychydig iawn mewn cymhariaeth i hono yw nifer y prynwyr a'r gwerthwyr yn y farchnadfa hon; ar yr un pryd, y mae y fasnach yn dra helaeth.

Dywedir i ni fod oddeutu tair mil trwy Lundain i gyd yn gwerthu *orange* ar hyd yr heolydd; ac y mae y rhan fwyaf o lawer o'r rhei'ny yn eu prynu yn *Duke's Place*. Ni werthir dim yn y farchnadfa hon ond yn gyfanwerth. Y swm lleiaf a werthir yw hanner cant—gwerth o swllt i ddau, yn ol fel bo y tymhor a'u rhinwedd. Y mae yn agos i ddau can miliwn o *orange* yn dyfod i'r wlad hon bob blwyddyn; a thros bymtheg miliwn o'r rhei'ny yn cael eu gwerthu ar hyd heolydd y brif ddinas. Y mae hyn yn costio i'r prynwyr yn agos i ddeugain mil o bunnoedd. Ychydig o Iuddewon sydd yn awr yn eu cario i'w gwerthu ar hyd yr heolydd—y mae hyny wedi syrthio bron yn gwbl i ddwylaw y Gwyddelod. Ychydig o *lemon* a werthir ar hyd yr heolydd—y mae rhai plant Iuddewig, ond Gwyddelod yn benaf, yn eu cario allan; ond nid yw y fasnach a wneir ynddynt ond bychan a dibwys.

Y mae y fasnach *gnai* yn ddirfawr trwy y deyrnas, ac y mae Llundain yn gwneyd ei rhan ynddi. Dywedir fod o leiaf bum can mil o fwyseli yn cael eu gwerthu ar hyd yr heolydd; a'r prif le i'w prynu ydyw *Duke's Place*. Yr adegau prysuraf trwy'r wythnos yw prydnawn dydd

Gwener a bore Sul—y cyntaf am fod y farchnadfa yn nghau ar ddydd Sadwrn, y Sabbath Iuddewig, a'r llall am fod y prynu yn fwy ar ddydd Sul nag unrhyw ddiwrnod arall. Efallai fod pob masnachdy yn *Duke's Place* yn gwerthu yn agos i werth can punt o-gnau bob dydd. Ychydig mewn cymhariaeth o Iuddewon sydd yn myned allan i'w gwerthu, oddi eithr ar ddydd Suliau—y pryd hyny, dywedir wrthym, y mae llawer iawn o honynt yn gwerthu.

Heblaw y ffrwythydd a enwyd, y mae marchnadyddion *Duke's Place* yn gwneyd masnach helaeth i ail-werthwyr, mewn almonau, resin, ffigys, &c.

II. Y mae yr Iuddewon yn hynod o hoff o bysgod, ac yn enwog mewn cegino y rhai sydd yn gyfreithlawn iddynt fwyta. Y maent yn cario hyn yn mlaen yn mhob parth yn eu plith eu hunain; ond y maent yn ei wneyd yn bwnc masnachol yn Llundain, lle y mae marchnad i bob peth. Difair swm anferth o bysgod wedi eu sychu yn Llundain bob blwyddyn; ac yn masnach sych-bysgod y mae yr Iuddewon. Dywedir fod yn agos i wyth miliwn a thriugain o bob math o bysgod sych yn cael eu gwerthu ar hyd heolydd y brif ddinas bob blwyddyn, yn cyrhaedd y swm dirfawr o gant a saith ar hugain o filoedd o bunnoedd. Nid yw y fasnach hon yn nwylaw Iuddewon yn benaf, er, os ystyrir eu nifer, y mae mwy o honynt hwy ynddi nag sydd o'r Cenedloedd. Mewn rhai rhanau o honi y maent yn cymeryd y blaen yn hollol; canys y mae eu medrusrwydd i'w trin i edrych yn dda, yn ddiarebol yn mhlith y masnachwyr hyn. Yn wir, y maent yn medru cyfnewid penwyg i edrych fel "*Yarmouth Bloaters*"—pysgod dewisol ar hyd ystrydoedd Llundain; a thrwy eu mil o ddyfeisiau, y maent yn ennill arian pan y bo pawb arall yn methu.

Byddai yn gamgymeriad mawr i'n darllenydd feddwl fod plant Abraham yn cyfyngu eu galluoedd masnachol at y pethau a enwyd—na, nid oes dim *gwerthadwy* nad yw i'w gael yn y gymydogaeth Iuddewig. Yn wir, gwneir arian o bethau ganddynt hwy, na ddychymygai neb arall ddim am dano; ac na feddyliai Iuddew ddim chwaith, oddi eithr yn Llundain a rhyw le cyffelyb. Beth pe gallem arwain ein darllenydd trwy un o'u

heolydd, *Petticoat Lane*, er anghraifft?—heol gul fudr, a'r tai yn dywyll ac aflawen ddigon, ond oddi fewn ac allan yn llawn o nwyfau; ïe, pob nwyfau bron a werthir yn y byd hwn a bydoedd ereill, os oes rhai mor dylawd a'r eiddom ni. Wrth gerdded ar hyd-ddi ni a welwn bob math o ddilladau—gwrrywaid a menywaid, rhieni a phlant—pob math o fwydydd, cig, pysgod, bara, teisenau, &c., o bob lliw a llun--pob math o arfau—pob math o addurniadau, yn aur ac arian, ac yn berlau; yn bur ac yn gau, yn werthfawr ac yn ddiwerth; y mae yno. Ond cofied ein cymdaith, mai ail law yw y cwbl, oddi eithr y bwydydd, a llawer o'r rhei'ny a'r a wyddom ni. Hen bethau yw y cwbl—hen wisgoedd, hen hetiau, hen esgidiau, hen awrleisiau, hen gadwynau, hen fodrwyau, hen lyfrau, hen lifiau, hen fwyelli, hen forthwylion, hen gloiau, hen agoriadau, hen hoelion rhydlyd, yn fil ac yn fyrdd, hen nodwyddau, &c., &c; a pha beth bynag sydd yn y byd masnachol, yn werthfawr neu yn ddiwerth, y mae i'w gael yn *Petticoat Lane*.

Y mae y masnachwyr hyn, lawer o honynt, yn bur llwyddiannus; ac ambell un yn anhygoel felly. Yr ydym yn eithaf cydnabyddus âg un: y mae yn awr dros 80 mlwydd oed. Dechreuodd ei yrfa heb esgid am ei droed—basged a nwyfau digon gwael ar ei fraich, gan gerdded heolydd Llundain i'w cynyg i hwn a'r llall. Cynyddodd, ac yn mhen blynyddoedd, dechreuodd fasnachu mewn arian ac aur, a cheryg gwerthfawr; a gallwn sicrau i'n darllenydd, ei fod, erbyn heddyw, yn werth dwy filiwn o bunnoedd. Gallem adrodd amryw cyffelyb, ond nid mor hynod a hwn,

## PENNOD III.—Sefydliadau Elusengar a Chyfeillgar.

I. Y mae elusen yn un o ranau mwyaf arbenig Iuddewiaeth; a gellir dweyd, mewn gwirionedd, eu bod yn bobl elusengar i'w gilydd. Er, fel y nodwyd mewn lle arall, fod llawer o dylodi yn eu plith, y maent yn ymdrechu cynal eu gilydd uwchlaw angenion dwfn, a'u cadw hefyd rhag pwyso ar elusendai y Cenedloedd. Gan hyny y mae y sefydliadau elusenol sydd yn eu plith

yn dra lluosog, ac ystyried nifer y genedl. Gwyddom fod yn agos i ddeugain yn Llundain; a dichon fod rhai nas gwyddom am danynt. Byddai yn rhy faith o lawer i ni adolygu rhai'n o un i un—er y gallai hyny fod yn ddigon difyrus a buddiol i'n darllenydd; ond teimlwn flys, ar yr un pryd, eu henwi yn olynol fel y maent ar ein coflyfr, er mwyn dangos eu gwahanol amcanion.

Yn mhlith yr Aschenasim ni gawn y rhai canlynol:—

Ysbytty Iuddewig.—Dyma y sefydliad mwyaf pwysig a threulfawr yn eu plith. Sefydlwyd o, hanner can mlynedd yn ol, yn benaf i addysgu plant tylodion, yn ferched ac yn fechgyn, ac i *brentisio* y rhai mwyaf gobeithiol o honynt at wahanol grefftiau. Y mae yma ddarpariaeth hefyd i gynal rhyw ddwsin o hen bobl rhy analluog i ennill eu bywioliaeth, a rhy dylawd i fyw heb elusen.

Cymdeithas i gyfranu bara, cig, a thanwydd yn y gauaf.

Cymdeithas i gyfranu 5 swllt yn yr wythnos i'r tylawd am fisoedd y gauaf.

Cymdeithas Boneddigesau i roddi benthyg arian i Iuddewesau mewn adegau cyfyng, &c.

Cymdeithas i ddilladu bechgyn tylodion.

Cymdeithas i ddilladu a phrentisio bechgyn.

Cymdeithas i amgeleddu gwragedd tylodion pan yn gorwedd i mewn.

Noddle i wragedd gweddw oedranus.

Noddle i blant amddifad.

Sefydliad i gynal deillion tylawd.

Cymdeithas Boneddigesau i ddilladu merched tylawd.

Cymdeithas i lawenychu y tylawd ar y Gwyliau.

Cymdeithas i roddi cyfran wythnosol i'r tylawd.

Cymdeithas i ofalu am wragedd gweddw tylawd tra yn eu galar.

Noddle i gynal hen wŷr tylodion.

Cymdeithas i gynorthwyo gweddwon angenus.

Cymdeithas i gyfranu bara, cig, tanwydd, tê a swgr, i wragedd tylawd pan yn gorwedd i mewn.

Cymdeithas i roddi benthyg arian yn ddilog i Iuddewon tylodion i gychwyn rhyw fasnach.

Cymdeithas i gyfranu bara a thanwydd.

Cymdeithas arall i gyfranu bara a thanwydd.

Cymdeithas arall i gyfranu bara a thanwydd.

Cymdeithas i gynorthwyo y tylawd yn amser galar ar ol y marw.

Cymdeithas i gynorthwyo pobl ieuanc ymdrechgar.

Cymdeithas i gynorthwyo pobl ieuanc rhinweddol ar adeg eu priodi.

Cymdeithas i gynal, addysgu, a phrentisio, plant dinodded.

Cymdeithas i roddi cyfarwys *(pension)* i weddwon.

Cymdeithas i gyfranu bara a thanwydd i'r tylawd.

Yn mhlith y Sephardim y mae y rhai canlynol:—

Ysbytty Iuddewig.—Y mae hwn yn debyg i ysbytty yr Aschenasim; ond ei fod yn fwy, yn hynach, ac yn fwy trefnus.

Sefydliad i blant amddifad.

Cymdeithas i roddi benthyg arian i'r tylawd ymdrechgar; i brentisio plant, gwobrwyo, &c.

Cymdeithas i gynorthwyo yr angenus.

Cymdeithas i gynorthwyo merched amddifad yn amser priodi.

Y mae gan yr Iuddewon Diwygiedig, er nad ydyw eu nifer ond bychan, ac heb nemawr o dylodion yn eu mysg, eu

Cymdeithas Ddyngarol i gynorthwyo yr angenus.

Cymdeithas Elusengar Boneddigesau.

Y maent oll yn ymuno mewn Cymdeithas i gynorthwyo Iuddewon tylawd Jerusalem a Gwlad Canaan.

Yr ydym yn awr wedi nodi yr holl sefydliadau, ni dybiwn, sydd yn eu mysg yn Llundain, o natur elusengar; ac wrth derfynu, y mae yn iawn i ni chwanegu, nad oes dim yn eu dygiad yn mlaen yn annogaethol i segurdod a diogi; ond yn hollol yn y gwrthwyneb, y maent yn symbylu ac yn cynorthwyo eu gilydd i bob un wneyd drosto ei hunan yn hytrach na dybynu ar rodd. Y mae hyn yn wir angenrheidiol, gan fod llawer mewn gwledydd tramor yn neillduol yn arfer byw yn gwbl ar elusenau, a llawer yn nefodau a thybiau eu crefydd yn arwain i hyny.

II. Y mae hyn yn ein harwain i sylwi gair neu ddau ar eu sefydliadau cyfeillgar. Dyben y sefydliadau hyn, fel yn mhlith y Cenedloedd, yw parotoi ar gyfer afiechyd, a henaint, a marwolaeth; yr hyn a wneir trwy dalu rhyw

swm penodedig yn wythnosol neu fisol, fel bo telerau y gymdeithas. Carir hwynt yn mlaen fel yn mhlith y Cenedloedd, oddi eithr yr ychydig gyfeiriadau sydd yn y rheolau at eu crefydd. Dylem ddweyd hefyd, fod rheolau pob un yr ydym ni wedi sylwi arni, yn cyfeirio at foesoldeb yr aelodau yn gystal a'u taliadau. Y mae oddeutu ugain o'r cymdeithasau hyn yn eu mysg yn Llundain, a thros ddwy fil o aelodau ynddynt.

## PENNOD IV.—ADDYSG.

EU DIFFYGION—EU HADDYSGFAAU YN LLUNDAIN—YN Y WLAD.

I. NID ydyw yr Iuddewon wedi addysgu eu gilydd i'r graddau y gellid dysgwyl—yn wir, y mae addysg yn isel yn eu plith. Un rheswm o hyn ydyw, nad ydynt wedi ymsefydlu yn y deyrnas yn ddigon o hyd i feithrin hyny. Hefyd, y mae y wlad fasnachol hon wedi bod yn faes mor fanteisiol iddynt ennill arian, fel y maent wedi ymroddi bron yn llwyr at hyny, gan annghofio pob peth arall. Rhaid i ni gofio fod Iuddewon Prydain yn cael eu gwneyd i fyny o bersonau a theuluoedd a ddaeth yma, o bryd i bryd, o wledydd tramor, o bwrpas i ennill arian, a cheisio cyfoeth. Heblaw hyn, y mae yr iaith a ddefnyddid ganddynt wedi attal eu cynydd mewn gwybodaeth a dysg. Ac yma, efallai, y dylem grybwyll, fod gan y genedl iaith benodol iddynt eu hunain—math o gymysgiaeth o Hebraeg Rabbinaidd, Germanaeg, &c—iaith nad oes ynddi na chelfyddyd na llênyddiaeth; ac iaith nad oes neb byth yn ei dysgu ond yr Iuddew. Dyma iaith y werin drwy Ewrop yn gyffredin; a dyma oedd eu hunig iaith yn y deyrnas hon. Ond yn awr, y mae agwedd cymdeithas yn newid yn eu plith—y mae lluaws mawr o honynt wedi cartrefu yma o oes i oes, ac yn awr Prydain yw eu mamwlad—y mae yr hen glytiaith yn darfod, a'r genedl yn dysgu Saesonaeg; a'r canlyniad yw, y mae addysg yn cynyddu yn gyflym yn eu plith.

II. Y prif addysgfaau sy ganddynt yn Llundain yw y rhai canlynol:—

*Beth Hamedras.* Math o athrofa ydyw hon i efrydu yr awduron Rabbinaidd, ond yn cael ei chario yn mlaen yn fwy ar gynllun efrydfa i hunan-ddysgawdwyr, na dim arall. Y mae llyfrgell yn perthyn i'r sefydliad, yn cynwys tua 3000 o gyfrolau—oll yn yr Hebraeg a'r Galdeaeg. Y mae yma hefyd luaws o hen lawysgrifiau Hebraeg—rhai mewn cadwriaeth dda; ond ereill yn cael eu gadael i fyned ffwrdd yn ddarnau. Er mai yr addysg a gyfrenir yma yw yr un mwyaf rhinweddol a goruchel, yn ol syniadau Iuddewiaeth, ychydig iawn o ddefnydd a wneir o'r sefydliad.

*Ysgol Plant.* Sefydlwyd hon tuag un mlynedd ar ddeg yn ol; a gellir edrych arni fel un o'r sefydliadau mwyaf pwysig yn eu plith. Y mae wedi ei hagor i ddysgu plant tylodion—plant nad yw yn cael nemawr o addysg yn eu cartrefi. Y nifer gyffredin sydd yn yr ysgol yw o 200 i 250—oddeutu yr hanner yn blant Iuddewon Saesonig, a'r lleill yn blant Iuddewon tramor. Carir yr ysgol yn mlaen yn bur debyg i un o ysgolion Brutanaidd a Thramor—yn wir, llyfrau y sefydliad hwnw a ddefnyddir yn benaf yn werslyfrau. Y mae y brif athrawes yn un o'r athrawesau mwyaf medrus a welsom erioed, ac yn cyflawni ei dyledswyddau yn ganmoladwy tros ben. Nid ei hunig amcan yw dysgu y plant i ddarllen, ysgrifenu, &c; ond y mae yn rhoddi y pwys mwyaf ar blanu egwyddorion rhinweddol yn meddyliau y plant, ac yn gwneyd i'w holl gynlluniau gyd-gyfeirio at hyny. Y mae pob plentyn i dalu ceiniog yr wythnos am ei addysg; ond nid yw hyny ond ychydig at gynal y sefydliad, a gwneir y swm angenrheidiol i fyny trwy gyfroddion a thanysgrifiau. Y mae yr ysgol, er ei sefydliad, wedi addysgu tros fil o blant. Y mae tuag wyth gant o'r rhei'ny wedi cael eu derbyn i'r Ysgol Rydd Iuddewig, i gael addysg pellach—tua 50 wedi myned i ysgolion y *Sephardim;* ac o'r gweddill, rhai wedi symud o Lundain i fyw, ereill wedi myned i sefydliadau elusengar, a'r rhan fwyaf wedi marw.

*Ysgol Rydd Iuddewig.* Dyma y sefydliad addysgiadol mwyaf pwysig, a mwyaf effeithiol hefyd, sydd yn eu plith. Y mae yr adeilad wedi ei ddarparu i addysgu deuddeg cant o blant—700 o fechgyn a 500 o ferched. Y mae penathraw ysgol y bechgyn, yn ddyn o gryn

ddysgeidiaeth, ac wedi ei gymhwyso yn hynod, o ran cyneddfau a dygiad i fyny, i fod yn athraw. Y mae yr ysgol wedi ei dosparthu yn dri rhaniad—isaf, canol, ac uchaf. Yn y rhaniad isaf y mae y plant yn dysgu darllen Saesonaeg a Hebraeg—y deg gorchymyn—y credo Iuddewig—y gweddiau dyddiol—ac elfenau rhifyddiaeth. Yn y rhaniad canol y maent yn darllen Saesonaeg ac Hebraeg—yn cyfieithu y gweddiau a Phum llyfr Moses—yn nghydag ysgrifenu, rhifyddiaeth, gramadeg, &c. Yn y rhaniad uchaf y maent yn dysgu y Beibl Hebraeg—gramadeg a chyfansoddiad Hebraeg —yn nghydag hanesiaeth Feiblaidd a Chenedlig, rhifyddiaeth, athroniaeth naturiol, alsoddeg, &c; a'r ieithoedd Lladin a Ffrancaeg. O'r dosparth yma dewisir un ar hugain dan yr enw *Talmwd Torah*, i'w haddysgu yn fwy perffaith mewn dysgeidiaeth Iuddewig. Y maent hefyd yn eu dilladu, ac yn niwedd eu haddysgiad yn eu prentisio at ryw alwedigaeth. Heblaw yr uchathraw, y mae naw o isathrawon, tri at yr Hebraeg, a chwech at y gwahanol gangenau o addysg yn Saesonaeg. Y mae ysgol y merched wedi ei rhanu yn lled debyg, ac yn dysgu Hebraeg yn gystal a Saesonaeg. Y mae y dosparth uchaf yn dysgu daearyddiaeth, gramadeg, hanesyddiaeth, rhifyddiaeth feddyliol, &c., heblaw gwnio, a dyledswyddau perthynol i'r rhyw fenywaidd. Y mae y brif athrawes yn un dra medrus yn ei galwedigaeth. Y mae ganddi dair i'w chynorthwyo, yn nghyda saith o isgynorthwywyr.

Y gwerslyfrau a ddefnyddir yn y sefydliad ydyw llyfrau addysgiadol Chambers—llyfrau Cymdeithas Ysgolion Brutanaidd a Thramor—llyfrau Cymdeithas addysg y Werddon—gweithiau Sullivan—Dr. Brewer, &c; yn nghyda gwerslyfrau Iuddewig. O sefydliad yr ysgol hyd yn hyn y mae 3790 o fechgyn, a 1555 o ferched, wedi gorphen eu haddysgiad; a 700 o fechgyn, a 460 o ferched, yn awr ynddi. Cynelir y cwbl trwy gymunroddion, neu gyfroddion, neu roddion blynyddol. Ar restr y cymunroddion y mae y ffugyrau yn amrywio—o bum punt hyd bymtheg cant o bunnoedd; a'r rhoddion achlysurol a blynyddol o un hyd ugain punt.

Heblaw yr ysgolion uchod, y mae ganddynt ysgol yn yr Ysbytty, yn Nawddle yr amddifaid, a dwy o rai

cyffredin mewn rhan arall o'r brif ddinas. Y mae gan y *Sephardim* eu hysgolion hefyd—un yn eu Hysbytty, un Ysgol i blant, ac un arall, yn cynwys amryw ddospeirth, yn nglŷn â'u Synagog. Ac at y rhai hyn, dylid nodi fod gan yr Iuddewon diwygiedig eu hysgolion—un i fechgyn, ac un arall i ferched. Sut bynag, gan nad yw y rhai hyn yn rhai mawr, nac yn wahanol i ysgolion cyffredin ereill, rhaid i ni eu gadael ar hyn o grybwylliad.

Heblaw yr ysgolion cyhoeddus hyn, y mae ganddynt amryw o rai neillduol—rhai i feithrin eu llenyddiaeth eu hunain yn benaf; a'r lleill i gyfranu addysg gyffredinol. Y mae llawer o'u plant hefyd yn cael eu haddysgu mewn ysgolion Cristionogol. Y ddwy ysgol gyhoeddus fwyaf dewisol ganddynt ydyw y "*City of London School,*" a'r ysgol gysylltedig â'r "*London University.*"

Y mae ganddynt hefyd sefydliad llenyddol a chelfyddydol, dan yr enw *Sussex Hall.* Y mae yr adeilad yn le cyfleus, ac yn cynwys manteision i gyrhaedd gwybodaeth tebyg i sefydliadau ereill o'r fath. Y mae y manteision yma yn cynwys

1. *Ystafell Ddarllen.* Y mae hon yn cynwys y Newyddiaduron dyddiol—Grealon wythnosol a misol—Adolygiaduron cwarterol; yn nghyda chyhoeddiadau Germanaeg a Ffrengig. Y mae'r ystafell yn agored i'r aelodau, o 9 yn y bore hyd 11 o'r nos.

2. *Ysgolion Nosol.* Cynelir dospeirth, ar ol gorphen gorchwylion y dydd, i ddysgu Saesonaeg, German, Ffrancaeg, ac Hebraeg.

3. *Darlithiau.* Yn nhymor y gauaf traddodir darlithiau ar wahanol bynciau mewn celfyddyd a llenyddiaeth

4. *Llyfrgell.* Y mae y llyfrgell yn cynwys dros bedair mil o gyfrolau ar wahanol gangenau dysgeidiaeth. Y maent mewn gwahanol ieithoedd; ond y mwyafiant o lawer iawn yn y Saesonaeg. Y mae oddeutu pedwar ugain o weithiau Hebraeg yn eu plith, a rhai o honynt yn dra gwerthfawr. Rhoddir benthyg y llyfrau i'r aelodau i'w darllen gartref, oddi eithr y rhai Hebraeg; rhaid darllen rhei'ny yn yr *Hall.*

Y draul am fod yn aelod, a thrwy hyny fwynhau y breintiau uchod, yw degswllt ar hugain yn y flwyddyn. Er fod yr adeilad mewn lle cyfleus i'r boblogaeth Iuddewig, ac yn fanteisiol i bob oedran a sefyllfa, y mae yn

ddrwg genym ddweyd, nad yw yn cael y gefnogaeth ddyladwy.

III. Yr ydym yn awr wedi cymeryd adolygiad byr ar eu sefydliadau addysgiadol yn y brif-ddinas; dylem grybwyll yn awr, wrth derfynu y bennod hon, fod ganddynt ysgolion mewn lleoedd heblaw Llundain—ysgolion neillduol a chyhoeddus. Y mae eu hysgol yn Birmingham yn myned yn mlaen yn dda er ys blynyddoedd. Y mae ysgoldy newydd yn cael ei barotoi yn Liverpool hefyd. Ond gan nad oes dim neillduol yn eu sefydliadau yn ngwahanol barthau y deyrnas, nid yw o bwys i ni wneyd ond y crybwylliad yma.

## PENNOD V.—LLENYDDIAETH.

Y MAE gan yr Iuddewon lenyddiaeth hen a gwerthfawr, yn annibynol ar yr ysgrifeniadau santaidd; ond y mae eu gweithiau, gydag ychydig o eithriadau, wedi eu hysgrifenu yn yr Hebraeg Rabbinaidd a'r Galdeaeg. Ond nid â'u llenyddiaeth fel cenedl y mae a fynom yn awr, ond â llenyddiaeth Iuddewon Prydain. Ac am hwn, rhaid i ni ddweyd mai ychydig a dibwys ydyw. Y mae yr un achosion sydd wedi eu cadw ar ol mewn addysg, wedi effeithio yr un modd, fel y gellid meddwl, ar eu llenyddiaeth. Ychydig o honynt sydd wedi anturio bod yn awduron, a llai fyth sydd wedi llwyddo. Yn wir, nis gwyddom am gymaint ag un—nac am un gwaith sydd wedi bod yn wir lwyddiannus; ond y rhan fwyaf yn methu yn llwyr. Ar yr un pryd, y mae rhai wedi codi yn eu plith sydd yn brawf fod ganddynt ddefnyddiau awduron, ac awduron o'r radd flaenaf. O'r rhyw wrrywaidd, gallem enwi, fel anghraifft, y Dr. Raphall, diweddar o Birmingham, ond yn awr o America. Y mae ei ysgrifiau a'i ddarlithiau yn brawf ei fod yn ysgolhaig ac yn lenyddwr godidog. Gallem enwi y diweddar Grace Aguiler, fel anghraifft nodedig o'r rhyw fenywaidd. Er mai hunan ddysgawdres ydoedd yn benaf, dysgodd yr Hebraeg, y Ffrancaeg, a'r German. Dysgodd yr holl gangenau a ddysgir gan foneddigesau yn gyffredin. Yr oedd yn gerddores ac yn arlunyddes

gampus. Ysgrifenodd amryw o lyfrau o athrylith annghyffredinol; a bu farw yn unarddeg ar hugain oed. Byddai yn ormod o orchwyl i'n tudalenau presenol, i ni adolygu gweithiau y ddau awdwr hyn, llawer llai yr holl lyfrau a ysgrifenwyd ac a gyhoeddwyd gan Iuddewon y wlad hon; ond cyfyngwn ein sylwadau at agwedd bresenol awduriaeth y genedl.

Yr unig gyhoeddiad cyfnodol sy ganddo yw y *Jewish Chronicle*. Cyhoeddir o yn wythnosol, am dair ceiniog y rhifyn. Y mae dau olygydd iddo—un yw y meddiannydd, y prif olygydd; a'r llall yw Almaenwr, i olygu y rhanau Hebreig. Y mae y ddau olygydd yn fwy haelfrydig na chorff y genedl—hyny yw, nid ydynt yn ddall at ffaeleddau Iuddewiaeth a'u cenedl, nac at lawer o ragoriaethau Cristionogaeth a Christionogion. Gan hyny, y mae y *Chronicle*, ar y cyfan, yn gyhoeddiad pur rydd. Yn wir, y mae yn fwy felly na'r rhan fwyaf o gyhoeddiadau sectaidd y deyrnas. Y mae yn fynych yn ceryddu beiau a gwallau ei genedl yn y modd mwyaf diseremoni; ac o'r tu arall, nid yw yn llwyr wrthod amddiffyniadau a wneir i Gristionogaeth. Y mae ysgrifiau i'r pwrpas hyny, o waith awdwr y llinellau hyn, wedi ymddangos droion ar ei ddalenau. A dywedodd y golygydd wrthym dro yn ol, a chadarnhaodd hyny amryw o weithiau wedi'n, ei fod ef yn credu fod Cristionogaeth wedi ei seilio ar ddatguddiad dwyfol, fel Iuddewiaeth. Y mae oddeutu 1500 o gopiau o'r *Chronicle* yn cael eu gwerthu yn wythnosol, a'r gwerthiant yn cynyddu.

Yn nesaf at y *Chronicle* dylem nodi y ddau draethawd ar hanes yr Iuddewon ar ol amser yr Hen Destament. Cynygiwyd gan feddiannydd y *Chronicle*, wobr o ddeg punt am y traethawd goraf, a phum punt am yr ail oraf, ar y testyn uchod—a phan y daeth y traethodau i mewn, ac y dyfarnwyd hwynt, cyhoeddwyd y ddau oraf yn un gyfrol. Cynwysiad y ddau yw hanes dyoddefiadau a helbulon y genedl yn benaf; ac nid meddwl, dysg, a nodweddion y genedl. Y mae y cyntaf, sut bynag, wedi ei roddi yn nghyd gyda chryn lawer o fedrusrwydd, yn neillduol pan feddyliom mai dyn ieuanc yw yr awdwr.

Heblaw y rhai hyn, cyhoeddwyd cyfrol o bregethau gan y Parch. Mr. Marks, gweinidog y Synagog ddiwyg-

iedig y soniasom am dani eisioes. Y gyfrol hon yw un o'r pethau mwyaf dorus a gyhoeddodd Iuddewon Prydain eto, am ei bod yn cynwys syniadau un o'r Iuddewon mwyaf goleuedig ar wahanol bynciau crefydd.

Oddi eithr dau lyfr ysgol i ddysgu Hebraeg, a dau Almanac Iuddewig, y llyfrau uchod yw yr holl chwanegiadau a wnaed at lenyddiaeth Iuddewon Prydain y flwyddyn hon, heblaw ychydig o gyfieithiadau.

Y blaenaf o'r rhai'n yw cyfieithiad Dr. Benisch o'r Hen Destament. Y mae dwy gyfrol wedi ymddangos—un yn cynwys y Pumllyfr, a'r llall y rhanau hanesyddol. Y mae y Dr. yn Hebrewr medrus—a'r cyfieithiad cyffredin yw sylfaen ei gyfieithiad ef; ond y mae yn rhy chwannog i wneyd cyfnewidiadau dibwys a diangenrhaid; ac i wneyd rhai ereill na ddeil feiniadaeth drwyadl.

Y nesaf yw *Derech Tafim*, neu Ffordd y Daionusion. Y mae y llyfr yn cynwys rhan o'r llawysgrifiau Hebreig sydd yn y *Bodleian Library*, Rhydychain, yn nghyda chyfieithiad Saesonaeg. Y mae yn cynwys addysg tadol dau o athrawon enwog y genedl i'w bechgyn—sef Rabbi Saul Aben Tibbon, a Rabbi Moses Maimonides. At hyn chwanegwyd amryw o hen ddiarebion Groeg ac Arabaidd, oedd wedi eu troi i'r Hebraeg. Y mae y golygydd a'r cyfieithydd yn wŷr hyddysg yn iaith a llenyddiaeth eu cenedl, ac yn bwriadu gorphen y llawysgrifiau sydd yn y llyfrgell a enwyd mewn un gyfrol eto.

Yn olaf, cyhoeddwyd dau lyfr gweddi at wasanaeth y rhyw fenywaidd. Cyfieithiadau yw y ddau o'r Germanaeg, ac wedi eu dethol o lyfrau gweddi teuluaidd a ddefnyddir yn y wlad hono. Y maent yn cynwys gweddiau ar yr achlysuron mwyaf pwysig yn mywyd Iuddewes. Y mae un yn ymgadw at *ddull* gweddi yn weddol, tra mae y llall yn adrodd gweddiau na wyddys yn iawn pa un ai gweddi ai araeth ydyw; ond y mae y ddau mor amddifad o ysbryd gweddi ag ydynt o gyfryngwr.

Yr ydym yn awr wedi nodi, yn fyr, y cynyrchion llenyddol Iuddewig y flwyddyn hon—ac y mae y flwyddyn bresenol wedi bod mor doreithiog ag unrhyw un flaenorol. Sut bynag, y mae syched cynyddol yn mhlith

y genedl am chwanegu eu breintiau a'u manteision llenyddol ac addysgiadol; ac y mae pob arwyddion fod cyfnewidiadau mawr ar gymeryd lle yn eu mysg.

O. Y. Yr oeddem yn bwriadu pennod fer ar sefyllfa wledychol yr Iuddewon yn y deyrnas hon; ond y mae terfynau ein llyfryn ar ben. Gellir swmio y mater hwnw modd bynag i ychydig o gwmpas, trwy ddweyd eu bod yn mwynhau pob rhyddid gwladol a chrefyddol, oddi eithr yn unig aelodaeth seneddol. Y mae y Barwn Rothschild wedi ei ddewis i gynddrychioli dinas Llundain yn nhŷ y cyffredin droion bellach; ond am nad yw yn medru *(fel Iuddew)* gymeryd llw ar ffydd *Cristion*, nid oes caniatad iddo fwynhau breintiau y ty. Yn mhob peth arall y maent yn mwynhau rhyddid perffaith: ac ar y pwnc o briodi, y maent yn mwynhau rhyddid helaethach na'r ymneillduwyr, am fod ysgrifenydd y Synagog yn medru (yn gyfreithlawn) rhestru y briodas heb ymyryd dim âg unrhyw swyddwr gwladol nac eglwysig. Y maent hwy eu hunain yn wahanol eu barnau ar aelodaeth Seneddol. Y mae y rhan fwyaf yn awyddus iawn am ei gael; tra y mae ereill yn ei farnu yn beth annghywir o'u tu hwy i geisio na derbyn yr anrhydedd. Ond mwy na'r cwbl, y maent yn cael rhyddid yn syniadau y wlad; y mae y rhagfarn o'u tu hwy ac o du y Cenhedloedd yn darfod yn raddol, a chydymdeimlad yn cynyddu, yr hyn sydd yn well na mil o ddeddfau ar lyfrau y senedd.







DIWEDD.

J. MENDUS JONES, ARGRAFFYDD, LLANIDLOES.

pur sydd wedi bod mewn arferiad gan Eglwys Crist er amser y Diwygiad Protestanaidd. Pris 6s.

Y SALMYDD EGLWYSIG.—Sef Casgliad o Salmau a Hymnau at wasanaeth Trefnyddion Calfinaidd Llundain. Yr ail argraffiad yn cael ei barotoi.

DARLITH AR GERDDORIAETH GYMREIG.—Sef Adolygiad ar Hanes a Nodweddiad Cerddoriaeth Genedlaethol y Cymry o amser y Derwyddon. Pris 6c.

Y CANOR; sef, Cyfarwyddyd i ddysgu canu yn rheolaidd. Y mae y Canor wedi ei gyfansoddi ar ddull o ymddyddan, a hyny mor syml ac eglur, fel y gallo y mwyaf annghyfarwydd, gydag ychydig o lafur, ddyfod yn gerddor medrus mewn ychydig fisoedd. Y mae y llyfr hwn yn cynwys mwy o eglurhâd ar y gelfyddyd, nag un llyfr a gyhoeddwyd eto o'r un maintioli a phris, yn y Gymraeg na'r Saesonaeg. Pris 6c.

Y CERDDOR DIRWESTOL.—Yn cynwys Tônau ac Anthemau at wasanaeth Dirwest. Pris 6c.

BEIBL YR EFRYDYDD; sef, Argraffiad Newydd o'r Ysgrythyrau, at wasanaeth yr Ysgolion Sabbothol, ac Ieuenctid Cymru yn gyffredinol.

Dymuna y cyhoeddwr hysbysu y lluaws sydd yn ymofyn âg ef am y llyfr anmhrisiadwy uchod, ei fod yn parotoi yn brysur at ei ddwyn trwy y wasg. Y mae yn barod i'r wasg er ys amryw flynyddau; ond o herwydd rhyw amgylchiadau, y mae y cyhoeddwr hyd yma wedi ei luddias i'w argraffu; ond bwriada bellach ei ddwyn allan mor fuan ag sydd bosibl. Ni arbedir na thraul na thrafferth er ei wneyd yn deilwng o gefnogaeth gyffredinol. Trefnir y gwaith yn ol y cynllun canlynol:—

I. Y cyfieithiad cyffredin fydd y testyn; ond yn lle dosbarthu y llyfrau yn bennodau ac adnodau, yr hyn sydd yn fynych yn tori ar y synwyr, fe'u trefnir yn ddosbeirth, a rhifir y pennodau a'r adnodau ar ymyl y ddalen. Hefyd, un golofn fydd pob tudalen, yn ol dull y copi sydd gan yr Iuddewon yn y synagog.

II. Rhagflaenir pob llyfr â thraethawd i egluro ei amcan, ei faterion, ei ddull, ei ieithwedd, a'i awdwr.

III. Ar odrau y ddalen rhoddir cyfeiriadau beirniadol, y cynwys y gwahanol ddarlleniadau mwyaf derbyniol, eglurhâd briod-ddulliau yr ieithoedd gwreiddiol, sylwadau ar eiriau, &c.

IV. Rhwng y ddau Destament rhoddir traethawd ar han gwladol a chrefyddol yr Iuddewon, er mwyn i'r efrydydd sefyll dir manteisiol i ddechreu darllen y Testament Newydd.

V. Yn y dechreu rhoddir rhagdraeth cyffredinol i'r Beibl, cynwys sylwadau ar gwblhâd ei ganon, yr ieithoedd gwreiddi y llawysgrifau, y gwahanol ddarlleniadau, ei ddosparthiad, hen gyfieithiadau, &c., &c. Fe fydd y rhagdraeth hwn yn c nwys sylwedd y cwbl y mae y prif feirniaid wedi ei ddywedyd y pyngciau uchod, ac felly o werth annhraethol i efrydydd ysgrythyrau.

VI. Rhoddir mynegai yn y diwedd yn cynwys y prif fater mewn daearyddiaeth, henafiaethau, arferion a defodau, perthynol i'r Beibl. Hyderir y cynwysa y mynegai gymain wybodaeth ar y pyngciau uchod fel i alluogi yr efrydydd i bouio iddo ei hun luaws o adnodau, a thaflyd goleuni a phr ferthwch chwanegol ar filoedd o rai ereill.

Y Darluniadur Anianyddol; sef, Eglurh Manwl ar Egwyddorion Seryddiaeth, Daearyddiaeth Daeareg; ac yn cynwys oddeutu 80 o Arluniau Egl haol, wedi eu cerfio yn benodol at y Gwaith hwn: nghyda Hanes Seryddiaeth, a Dysgrifiad cyflawn o Off ynau Seryddol, hen a diweddar. Gan E. Mills.

Y mae y Cyhoeddwr wedi prynu y cwbl oedd ar l gan Mr. G. Jones, Bala; a bwriada ddwyn y gwe allan yn ddiymaros. Ymrwyma y Cyhoeddwr na fyd llyfr i gyd yn fwy na gwerth Pedwar Swllt.

D.S.—Os bydd yn annghyfleus i ryw un neu rai me cymydogaeth gael y Llyfrau uchod gan Lyfrwerth gellir anfon gwerth pedwar swllt neu uchod gyda'r P trwy anfon eu gwerth o Lythyr Nodau i'r Cyhoedd Ar werth hefyd gan Owen Mills, Argraffydd a Ll werthydd, 17 a., Devon-street, Liverpool.

J. MENDUS JONES, ARGRAFFYDD, LLANIDLOES.

III. Ar odrau y ddalen rhoddir cyfeiriadau beirniadol, yn cynwys y gwahanol ddarlleniadau mwyaf derbyniol, eglurhâd ar briod-ddulliau yr ieithoedd gwreiddiol, sylwadau ar eiriau, &c.

IV. Rhwng y ddau Destament rhoddir traethawd ar hanes gwladol a chrefyddol yr Iuddewon, er mwyn i'r efrydydd sefyll ar dir manteisiol i ddechreu darllen y Testament Newydd.

V. Yn y dechreu rhoddir rhagdraeth cyffredinol i'r Beibl, yn cynwys sylwadau ar gwblhâd ei ganon, yr ieithoedd gwreiddiol, y llawysgrifau, y gwahanol ddarlleniadau, ei ddosparthiad, yr hen gyfieithiadau, &c., &c. Fe fydd y rhagdraeth hwn yn cynwys sylwedd y cwbl y mae y prif feirniaid wedi ei ddywedyd ar y pyngciau uchod, ac felly o werth annhraethol i efrydydd yr ysgrythyrau.

VI. Rhoddir mynegai yn y diwedd yn cynwys y prif faterion mewn daearyddiaeth, henafiaethau, arferion a defodau, &c. perthynol i'r Beibl. Hyderir y cynwysa y mynegai gymaint o wybodaeth ar y pyngciau uchod fel i alluogi yr efrydydd i esbonio iddo ei hun luaws o adnodau, a thaflyd goleuni a phrydferthwch chwanegol ar filoedd o rai ereill.

Y DARLUNIADUR ANIANYDDOL; sef, Eglurhâd Manwl ar Egwyddorion Seryddiaeth, Daearyddiaeth, a Daeareg; ac yn cynwys oddeutu 80 o Arluniau Eglurhaol, wedi eu cerfio yn benodol at y Gwaith hwn: yn nghyda Hanes Seryddiaeth, a Dysgrifiad cyflawn o Offerynau Seryddol, hen a diweddar. Gan E. Mills.

Y mae y Cyhoeddwr wedi prynu y cwbl oedd ar law gan Mr. G. Jones, Bala; a bwriada ddwyn y gweddill allan yn ddiymaros. Ymrwyma y Cyhoeddwr na fydd y llyfr i gyd yn fwy na gwerth Pedwar Swllt.

D.S.—Os bydd yn annghyfleus i ryw un neu rai mewn cymydogaeth gael y Llyfrau uchod gan Lyfrwerthwr, gellir anfon gwerth pedwar swllt neu uchod gyda'r *Post*, trwy anfon eu gwerth o Lythyr Nodau i'r Cyhoeddwr. Ar werth hefyd gan OWEN MILLS, Argraffydd a Llyfrwerthydd, 17 *a.*, Devon-street, Liverpool.

J. MENDUS JONES, ARGRAFFYDD, LLANIDLOES.

